Y

# BLAENFFRWYTH:

SEF,

Gwaith Barddonol

# RICHARD FOULKES EDWARDS

(RISIART DDU O WYNEDD).

"Blaenffrwyth" dawn yn llawn dillynion—roddir;
Arwydda caiff beirddion
*Gynhauaf* o ganeuon,
A saig bur;—*ysgub* yw hon.
RICHARD DAVIES (*Mynyddog*).

Wele 'n awr, ar lawr, ar len—syw hapus
Rawn sypiau heb amgen;
"Blaenffrwyth" da i Walia wen,
O gynhauaf gwin Awen.
*Clwydfardd.*

DINBYCH:
ARGRAFFWYD GAN THOMAS GEE:
DROS YR AWDWR.

MDCCCLVIII.

## CYFLWYNIAD

I

### Evan Pierce, Ysw., M. D., Dinbych.

---

I DDYN cywir ac ardderchog,
I wladgarwr pur a serchog—
I un enwog am haelioni,
Ac i bleidiwr pob daioni—
I un yn ei galon ddalia
Ddirfawr serch at frodir Gwalia—
I un hoff o'n hiaith ysplenydd,
Ac i noddwr yr Awenydd—
I un o benaf addurniadau
Cymru anwyl—gwlad fy nhadau,
Yn yr alwad fendigedig,
Sydd yn gwella'r cystuddiedig—
Y dymuna 'm hieuanc Awen,
Gyda gwedd a theimlad llawen,
Fwyn gyflwyno 'n ostyngedig,
Hyn o "Flaenffrwyth" yn rhwymedig,
Gasglwyd ganddi pan yn teithio
Gardd hyfrydol, a thoreithiog;
Anian anwyl sydd yn meddu
Swynion bythol i'w rhyfeddu.

# RHAGYMADRODD.

Os dymunet ti, fwyn ddarllenydd,
Gael peth o'm hanes i a'm Hawenydd,
Rho heibio am ennyd dy ofalon,
A chei ei glywed â chroesaw calon.
Pan nad oeddwn hen mewn dyddiau,
Heb weled pymtheg[1] o flynyddau,
Doe 'r Awen ataf fi ryw foreu,
Gan dd'weyd, ('r wy'n cofio 'i llais o'r goreu)
"Tyred, Risiart—brysia, cyfod—
Can's gyda mi rhaid iti ddyfod;
A'th arwain wnaf o ddwndwr bydol,
Hyd feusydd eang a hyfrydol,
I wel'd rhosynau a theg flodau,
I weled dirif ryfeddodau;
Ac wrth eu gwel'd dychlama 'th galon,
O afael blinder a gofalon.
Ond cofia hyn, er bod fy ffyrdd
Yn arwain rhwng ceinion bythol wyrdd,
Nid llwybrau esmwyth yw y rhai 'n,
Ond llawn mieri ac o ddrain;
Ond er bydd rhwystrau, fel dig alon,
Yn echrys rwygo 'th dyner galon,
Nis gallant hwy un ennyd lethu
Dy gariad ataf—deil heb fethu;
Ac fel bo 'r rhwystrau yn cynnyddu,
Mwya'n y byd wnei di brydyddu.

[1] *Nid oeddwn* ond pedair ar ddeg oed pan ddechreuais brydyddu

Pan fyddi 'n canfod yr ehedydd,
Yn pyncio moliant i'th Waredydd,
Drwof fi, ti a'i canlyni,
A thua 'r nef yn hyf esgyni;
Cei weled swynion Anian hardd,
Fil gwell na 'r byd, â llygad bardd,
Ac wrth eu gwel'd, drwy 'm cymhorth i,
Mor ber a'r gôg y ceni di;
Dy fam fydd Anian deg ei phryd,
A minnau 'n briod it' o hyd;
Yn nghanol pob rhyw flin ofalon,
Byth gyda ni y bydd dy galon."
  Fel y d'wedodd fy hoff Awen,
Y bu yn union—gyfaill llawen—
Ac wele 'n awr, yn wyth mlwydd oed,
Fel bardd, 'r wyf y tro cynta 'rioed,
Ar "daer erfyniad" y cyfaill penaf
Sy genyf fi, er mis Gorphenaf,
A hwnw 'n neb llai na mi fy hun,
'R wy'n d'od â'm gwaith o flaen pob dyn,
A fydd mor dda, mor ddoeth, a'i brynu,
("Hai lwc" mai llawer a wnant hyny!)
Os caiff y "Blaenffrwyth" hwn dderbyniad,
CYNHAUAF MAWR fydd y canlyniad.

*Plas Llanychan, Mai*, 1858.

# CYNNWYSIAD.

PENNILLION.



CAROLAU.



EMYNAU A CHANIADAU CREFYDDOL.

---

## GWALLAU.

Yn tudal. 14 yn lle gael, darllener, cael:—16 a 43, yn lle d'wedir, darllener, dwedir:—18, yn lle tragwyddoldeb sy fawr, darllener, tragwyddoldeb—sy fawr:—35, yn lle druain oeddent, darllener, druain oeddynt:—42, yn lle feddwl am, darllener, feddwl fod:—51, yn lle flynyddau, darllener, flynyddoedd:—58, yn lle blod'yn, darllener, blodyn:—59, yn lle cymhorth, darllener, gymhorth:—71, yn lle safent, darllener, safant:—71, yn lle edrychent, darllener, edrychant:—71, yn lle rhyfeddent, darllener, rhyfeddant:—73, yn lle i'm medd, darllener, i'm bedd:—79, yn lle uched, darllener, uchel:—100 a 134, yn lle orchymynion, darllener, orch'mynion:—104, yn lle dderbyn, darllener, derbyn:—113, yn lle gw'ŷdd, darllener, gwŷdd:—123, yn lle y strom, darllener, ystorom:—127, yn lle edrychant, darllener, edrychent:—145, yn lle am wylaiod, darllener, yn wylaidd:—149, yn lle imi, darllener i mi:—154, yn lle ufydd, darllener, ufudd:—156, yn lle siomiant, darllener, siomant:—156, yn lle i ti, darllener, iti:—160, yn lle Gymru, darllener, Gymry:—160, yn lle deg y, darllener, y deg:—160, yn lle oesoedd, darllener, oesau.

Mae y ddwy linell ganlynol yn y "Fenyw Ddall" wedi eu cam attalnodi:—

"Llawenydd wenai ar bob peth,
Ond ei theg rudd,
A'm calon innau—oedd ger bron
Yn hollol brudd."

# CANIADAU A PHRYDDESTAU.

---

## CARTREF CLYD.

O! GARTREF hoff! mae 'th enw di
Yn meddu swynion cain diri';
Pa enw ar y ddaiar hon
Mor anwyl i'm trallodus fron?
Anwylaf fan yn hyn o fyd,
Wyt ti, O! hoffus gartref clyd.

Y plentyn sy'n preswylio 'n fad,
Ar aelwyd gynhes mam a thad,
Ychydig a ddych'myga faint
Yw gwerth ei anmhrisiadwy fraint,
O fyw heb boen oddi wrth y byd,
Yn dawel yn ei gartref clyd.

Ond fe ddaw 'r awr—un fawr a fydd—
Rhaid iddo adael hwn ryw ddydd;
Pryd hyny, gwel ei werth yn iawn:
O blith estroniaid, llygaid llawn
Gyfeiria fe o oeraidd fyd,
At ei hoffusawl gartref clyd.

Bu genyf finnau gartref, do!
Mewn siriol a hyfrydol fro;
Ond collais hwnw—golled fawr!
Ac nid oes imi gartre'n awr;
Er hyny, byddaf lawer pryd
Yn cofio am fy nghartref clyd.

Fel cynt, fe geir y bwthyn gwyn
Yn addurn bro ar ael y bryn;
Ond ha! ni fedd ef heddyw ddim
A all ei wneyd yn gartref im';
Ond edrych wnaf o dywyll fyd
At le fu gynt yn gartref clyd.

Gan gofio 'r llon gyfeillion fu
Bob awr yn teg addurno 'r tŷ,
A chariad, undeb hoff, a hedd—
Ond heddyw hunant yn y bedd!
Ac er im' fyw mewn palas drud,
Ni welaf yma gartref clyd.

Ond y mae gwlad yn llawn o hedd,
Tu draw i'r byd, tu draw i'r bedd;
Cyfeillion fyrdd sydd yno 'n cwrdd,
Ond nid oes un yn myn'd i ffwrdd;
'R ol cyrhaedd hon, a gado 'r byd,
Caf drigo byth mewn cartref clyd.

## Y FYNWENT.

O! OLYGFA drist, ddifrifol,
   Gaf fi yn y fynwent hon,
Lle mae 'r gwan, a lle mae 'r nerthol,
   Lle mae 'r prudd, a lle mae 'r llon,
Oll yn gorwedd heb wahaniaeth,
   Mewn dystawrwydd llawn bob pryd;
Maent yn wledd i lygredigaeth—
   Ymborthi arnynt mae o hyd:
O! mor fuan byddaf finnau
   Yma 'n gorwedd gyda hwy;
'R ol ychydig o flyneddau,
   Ni cheir gweled Risiart mwy!

Fe fu 'r rhai'n ryw ddydd yn heini'
   Yn y byd, a llon eu gwedd;
Ni ddysgwylient un caledi,
   Ni feddylient am y bedd;
Ond hen angeu, wrth ymdeithio,
   A ddaeth atynt yn y man,
Ac o'i flaen pob un sy'n cwympo—
   Syrthiai 'r cryf 'r un modd a'r gwan:

O! mor fuan y caf finnau
  Gan hen angeu farwol glwy';
'R ol ychydig o flyneddau,
  Ni cheir gweled Risiart mwy!

Y mae yma rai, efallai,
  Fuont enwog yn y byd;
Am eu dysg ac am eu doniau,
  Caent eu parchu 'n fawr bob pryd:
Ond gwefusau yr athrawon,
  A lefarent gynt mor gain,
Ydynt heddyw oll yn fudion,
  Ac ni roddant unrhyw sain:
O! mor fuan byddaf finnau
  Yn gyffelyb iddynt hwy;
Na cheir pennill byth o'm genau,
  Ac na welir Risiart mwy!

Y mae yma deg wyryfon,
  Oeddynt anwyl is y rhod;
Llawer bardd, gan faint eu swynion,
  Oedd yn hoffi clymu 'u clod;
Ond yn awr pa le mae Elen
  Ydoedd gynt mor hardd ei gwedd?
Cartre'r fenyw hawddgar lawen,
  Y dydd hwn, yw tywyll fedd:
Ac yn wir, ni bydd gan innau
  Gartref gwell na hithau drwy
Bob rhyw ennyd o'r blyneddau,
  Pan na welir Risiart mwy!

Yma mae 'r boneddwr rhyfedd—
  Enwog yn ei ddydd oedd o;
Am ei gyfoeth a'i rwysgfawredd,
  Sonid llawer drwy y fro;
Ond mor wael yw ei ogoniant,
  Ac mor gul ei gartre'n awr!
Pa'm na bai e'n byw mewn mwyniant
  Heddyw yn ei balas mawr?
Dyma 'r ateb prudd yn ddiau—
  Angeu a'u gwahanodd hwy;
Ac ar fyr oddi wrth ofidiau,
  Fe wahana Risiart mwy!

Nis gall meddu 'r holl drysorau—
   Pob prydferthwch, dysg, a dawn—
Byth un amser gadw angau
   Draw am ennyd fechan iawn ;
Ha ! nis gellir ei wobrwyo
   Gyda phob rhyw drysor drud ;
Ac nis gellir diano rhagddo
   Gyda holl wybodaeth byd ;
O ! mor addas yw i minnau
   Mewn myfyrdod dreiddio trwy
Bob trafferthion at y dyddiau
   Pan na welir Risiart mwy !

Yma mae 'r gormeswr creulon—
   Un oedd ffyrnig yn ei ddydd ;
Fe fu llawer truan gwirion
   Ger ei fron yn crynu 'n brudd ;
Ond mor dawel y gorwedda
   'N awr yn llonydd yn ei arch,
Nid oes un gwenieithwr yma
   I roi iddo ffugiol barch ;
Ato ef ryw ddydd daeth angau,
   A rhoes iddo farwol glwy' ;
Felly 'n fuan gwna â minnau,
   Ac ni welir Risiart mwy !

Ond y duwiol hefyd huna
   Yn y fangre hon mewn hedd ;
O ! 'r fath golled i'r byd yma
   Ydoedd iddo fyn'd i'w fedd !
Af yr awrhon ar fy ngliniau—
   Erfyn wnaf ar Frenin nef,
Am gael nerth i dreulio 'm dyddiau
   Yn y byd fel darfu ef ;
Yna, teithio yr anialwch
   Wnaf heb ofni marw 'n hwy ;
A chaf drigo mewn dedwyddwch,
   Pan na welir Risiart mwy !

Buan, bydd fy oes yn darfod—
   Buan, buan, y daw 'r dydd,
Caf fy rhoddi yn y beddrod
   Yn y fynwent dawel brudd ;

Hwyrach y gwna ffrynd wrth deithio
   Edrych ar fy medd yn gu,
Ac fe ddywed wrth fyn'd heibio—
   "Dyma feddrod Risiart Ddu!"
Ond pa le y byddi, f' enaid—
   Pa un ai llon ai dan dy glwy'—
Pan ddaw 'r amser na wel llygaid
   Yn y byd mo Risiart mwy?

## MARWOLAETH YR ANNUWIOL.

Dewch gyda mi 'r awrhon i 'stafell ger llaw,
   I wel'd yr annuwiol yn marw:
Ei enaid a lanwyd gan ofid a braw,
   Ei wyneb sy'n ddulas a gwelw.

Mae 'n edrych yn wylltaidd o'i ddeutu mewn ffrwst,
   Ond undyn ni all ei gysuro;
Mae 'n clywed rhyw grechwen uffernol a thrwst—
   Cythreuliaid sy'n d'od tuag ato.

Mae 'n gweled erch ddiafliaid o'i amgylch yn gwau,
   Mae 'n gweled y fflamau tragwyddol;
Ac awyr frwmstanaidd erchyllfyd y gwae,
   A leinw ei ffroenau 'n olynol.

Ei fywiog gydwybod ddeffrowyd yn awr—
   Ni welir hi 'n cysgu byth mwyach;
Mae 'n rhifo 'i bechodau—pob un sydd ar lawr—
   Mae 'n edliw pob bwriad drwg afiach.

Mae 'n dweyd faint o weithiau y cablodd ei Dduw,
   Gan dori ei lân orchymynion;
Drwy 'r amser y cafodd ei oddef i fyw
   Mewn rhyfel yn erbyn Duw Sïon.

A dywed am dano yn mathru cyn hyn,
   Y gwaed—sydd o'i afael yr awrhon;
Y gwaed a fuasai 'n ei olchi yn wyn—
   Yn wynach na'r eira yn Salmon.

Mae 'n dweyd pa sawl meddwl annuwiol a fu
  Yn dirgel gartrefu 'n ei fynwes;
Mae 'n dangos teimladau drygionus yn llu—
  Mor fanwl mae 'n traethu ei hanes!

Ei enaid sy'n nghanol tywyllwch bob awr,
  Yn dysgwyl am fyn'd i drueni;
Ac yntau 'n gwynebu hen angeu heb wawr
  O obaith, nac unrhyw oleuni.

Darfyddodd ei fwyniant a'i gysur i gyd,
  Ni wel e' byth ronyn o heddwch;
Fe roddai y ddaiar a'i chyfoeth yn nghyd,
  Am feddu rhyw radd o ddedwyddwch.

Bu unwaith yn meddwl—ond nid yr awr hon—
  Fod ganddo ryw werthfawr drysorau;
Ond wele! ni roddant un cysur i'w fron,
  Wrth fyn'd i gyfarfod âg angau.

Ow! dacw yr angeu yn codi ei law,
  I roddi 'r trwm ddyrnod diwedda';
Ac enaid yr adyn mewn llewyg o fraw,
  Sy'n disgyn i eigion Gehenna!

Os ydoedd ei boenau a'i ddychryn yn fawr,
  Tra gwelwyd e'n ymladd âg angau,
Pa beth yw ei boenau a'i ddychryn yn awr,
  Yn nghanol cythreuliaid a fflamau?

1853.

---

## Y BALCH.

O, BRYFYN bach salw! pa ham yr wyt ti
  Yn synio mor uchel am danat dy hun?
Mor fuan, mor fuan diflana dy fri,
  A thithau 'n dylawd a thruenus, O ddyn!

Yn noeth ac yn egwan y daethost i'r byd,
  Yn noeth ac yn egwan disgyni i'r bedd;

Er hyn, ti edrychi mor uchel dy fryd,
A phe nas gallesid cyfnewid dy wedd.

O! cofia yr ennyd—yr ennyd erch fawr—
Yr ennyd ofnadwy, ddychrynllyd, a thost—
Pan raid iti adael yr hyn sydd yn awr
Yn llenwi dy fynwes â balchder a bôst.

O! cofia bydd angeu yn dyfod cyn hir,
I ddwyn dy holl gyfoeth dych'mygol o'th law;
Ofnadwy yw 'r olwg geir arnat, yn wir,
Pan raid iti adael y ddaiar mewn braw.

Cei weled pryd hyny yr hwn sy'r awr hon
Yn wrthddrych dy ddirmyg, yn wrthddrych dy wawd,
Yn nghanol ei gyfoeth yn ddedwydd a llon,
A thithau heb unpeth yn adyn tylawd!

1854.

---

## Y FENYW BRYDFERTH.

O! PA mor brydferth ydyw 'r fun,
Wy 'n wel'd yr ennyd hon;
Bu natur ar ei goreu yn
Addurno 'r fenyw lon.

Ei ffurf, O! pa mor luniaidd yw,
Ei llygaid sy fel ser;
Ei thlysach i blith dynolryw,
Ni ddaeth o ddwylaw Ner.

Pan yn llefaru y bydd hon,
Ei llais fel mêl fydd mwyn;
A'r wên ar ei gwynebpryd llon,
Sy lawn o ryfedd swyn.

Ond, fenyw, nac ymffrostia di,
Er mai un brydferth wyd;
Cyn hir, bydd sylwedd dy holl fri,
I'r pryfaid mân yn fwyd!

Pa les a wna dy degwch llawn,
  A swynion cain dy wedd,
Pan ddelo 'r ennyd enbyd iawn,
  Y cwympi i lawr i'r bedd?

Am hyny, cais yr addurn cu,
  A'th wna tra yma 'n byw,
Yn dlos yn ngolwg engyl fry—
  Yn dlos yn ngolwg Duw!

1856.

## GWELL NA PHRYDFERTHWCH.

(EFELYCHIAD).

Fy nghariad nid yw 'n brydferth
  I ereill ond fy hun;
Nid yw ei gwallt y tecaf,
  Na 'i llygaid chwaith mor gun:
Ac nid fel heirdd rosynau
  Yw ei gwefusau hi;
Ond er nad yw yn brydferth,
  Mae 'n anwyl iawn i mi.

Nid yw ei bron fel eira,
  Ni rodia chwaith mor hardd
Ag ambell un fu 'n denu
  Serchiadau llawer bardd:
Ond swynion mil mwy gwerthfawr
  Sydd yn ei meddiant hi;
Ac er nad yw yn brydferth,
  Mae 'n anwyl iawn i mi.

Ni ro'wn mo'r caredigrwydd
  A geir yn mynwes *hon*,
Yn lle yr holl brydferthwch
  Sydd ar y ddaiar gron!
Ni roddwn *ei* melusder
  Am berlau heirdd heb ri':

Rhagorach na phrydferthwch
  Yw *calon bur* i mi.

1853.

---

## GWIR BRYDFERTHWCH.

A DDYMUNET ti, fy nghyfaill,
  Syllu unwaith gyda'r bardd,
Ar brydferthwch gwirioneddol,
  Sy 'n teilyngu 'r enw hardd?
Edrych yma ar y fenyw—
  Ar y fenyw deg ei bri;
Tegwch bryd, a thegwch meddwl,
  Yw ei haddurniadau hi.

Y mae 'r fenyw sydd yn meddu
  Y ddau degwch hyn yn nghyd,
Yn rhagori mewn prydferthwch
  Ar bob peth sydd yn y byd:
Mae 'r blodeuyn, ac mae 'r rhosyn,
  Ac mae 'r lili deca 'i bri,
Yn anghofio eu prydferthwch,
  Pan yn edrych arni hi.

Y seryddwr hoffai dremu
  Byth ar ryfeddodau 'r ne';
Am y bardd, "Mi garwn syllu
  Byth ar anian," medd efe;
Gwel'd chwennycha 'r llencyn ynfyd,
  Byth ei ddelw ddiles ef;
Minnau hoffwn byth gael syllu
  Ar y decaf dan y nef.

Dynion ynfyd, pan yn ceisio
  Cymhar bywyd, ar bob pryd,
A ddewisant un sy 'n meddu
  Fwyaf o deganau 'r byd;
Minnau roddwn yn dra siriol
  Gyfoeth daiar oll yn nghyd,

Er cael llaw y fenyw anwyl,
  Decaf, oreu, yn y byd.

1855.

## SARAH ANNE.[1]

Hoff genyf ar ddiwrnod mwyn hafaidd,
  Pan fyddo holl natur yn deg,
Yw rhodio mewn gardd yn arafaidd,
  Gan syllu ar y blodeu tra chweg;
Ond hoffach yw genyf na hyny—
  Mwy llawen, pan ddel i fy rhan—
Gael edrych yn dawel dan synu,
  Ar swynion di-rif Sarah Ann.

Pan fyddo hi 'n rhodio 'n hawddgarol,
  Neu 'n rhedeg yn heinif ar hynt,
A'i gwallt yn fodrwyau hygarol,
  Yn chwifiaw 'n gu iawn yn y gwynt—
Pe medrai 'r beirdd pluog lefaru,
  Yn gystal a chanu 'n y coed,
Dywedent na buont yn caru
  Un gwrthddrych anwylach erioed.

Ond er fod ei swynion allanol
  Mor hynod o brydferth a chain,
Mae hefyd o hyd yn feddiannol
  Ar swynion mil tecach na'r rhai'n:
Hoff genyf yw edrych dan synu,
  Ar ei ffurf anwylaidd a'i phryd;
Ond hoffach, myrdd hoffach na hyny,
  Gwel'd tegwch ei *meddwl* bob pryd.

I un sydd mor anwyl yn ddiau,
  Nis gallaf ond erfyn hir oes;
Tra aml a fyddo ei dyddiau,
  Anaml bo 'n cwrddyd â chroes;

[1] Miss S. A. Hughes, Plas Chambres, Dinbych—perthynas i'r Awdwr, pan yn naw oed.

Ei henaid yn gyflym gynnyddo,
  Yr unwedd a'i chorph ar bob awr;
Dan fendith y nefoedd y byddo,
  Nes gadael gofidiau y llawr.

1855.

---

## DYFFRYN CLWYD.

TON: "*Ymdaith Gwŷr Harlech.*"

DEFFRO, f' Awen! cwyd yn fywiog,
I wneyd odiaeth gân odidog,
I'n paradwys lwys flodeuog,
    Sy fro iach enwog chweg;
Dyro odlau tra hyfrydlon,
I'r dyffryn llawnaf o ddillynion—
Annedd beirdd, a dysglaer goron
    Ein Gwalia dirion deg.
O! y Dyffryn siriawl,
Da mwynaidd le dymunawl,
Gwnei fi 'n llon, yr awr hon,
Ger bron dy swynion synawl;
Neidia 'r galon hon bob ennyd,
Wrth im' gofio 'n serchog hefyd,
Mai o'th fewn, O! Ddyffryn hyfryd!
    I'r byd y'm ganwyd i.

Gwelaf dy ysblenydd feusydd,
Llon eu ceinion, llawn eu cynnydd,
Ac 'r wy'n teimlo 'n hynod ddedwydd,
    Mewn llawenydd llawn:
Gwelaf eto 'th goedydd hygar,
Clywaf ynddynt dônau seingar,
Genir gan gerddorion hawddgar—
    Rai dengar mawr eu dawn:
'R wy'n gwel'd dy wedd amryliw,
'R wy'n teimlo swyn y cyfryw;
Ond dweyd mor deg, yw heb freg,
Un adeg, anhawdd ydyw;

Hyn yn unig allaf dd'wedyd :
Ei bod fel golygfa hyfryd,
Welais unwaith, rhyw lwys ennyd,
Mewn breuddwyd nefol mwyn.

O ! mor hardd dy agwedd ydwyd—
A phrydferthwch fe 'th goronwyd,
Ac â mynyddau llawn cadernid
Y teg amgeuwyd ti.
Mewn pêr-lewyg hoff y safaf
'N awr, yn yr ystafell decaf,
Sy'n y palas ardderchocaf,
A ganfyddaf fi ;
Sef palas creadigaeth,
Diail adail odiaeth,
Godwyd gan Iôr pob man,
Sy â'r haul dan ei reolaeth :
Yn y 'stafell hon y'm ganwyd,
Ac yn hon y'm tyner fagwyd—
Mwyn yn hon f'ai treulio bywyd,
Nes myn'd o'r byd i'r bedd.

'R wy'n gwel'd dy afon deg risialaidd,
Lifa 'n rhyfedd ac arafaidd,
Gan adlunio ffurf nefolaidd
Y lili lwysaidd lân :
Yno 'n fynych bydd y prydydd,
Yn myfyrio ar ei glenydd,
Ac yn nghwmni 'i fwyn Awenydd,
Yn gwau rhyw gelfydd gân :
Hoffa rodio yno,
O swn y byd a'i gyffro ;
'Stedda i lawr, lawer awr,
Gan wrandaw 'r dwfr yn sïo :
Yno 'n fynych iawn âf finnau,
I gael 'madael â'm gofidiau—
Hoffwn yno dreulio 'm dyddiau,
Yn glau, o boenau 'r byd !

Dy rianod ynt dirionawl,
A'u gwir swynion hawddgar, synawl,
Ydynt heddyw 'n dra rhyglyddawl
O fawl rhagorawl gân ;

Y rhai hyny 'n dyner union,
Wisgant rinwedd yn hardd goron—
Nid tebyg ydynt i farwolion,
Ond i angelion glân!
Un felly ydyw f' Elen,
Anwylaf o dan heulwen—
Ni chei un pryd ei bath drwy 'r byd,
Fy niwyd addfwyn Awen:
Elen, Elen, fy anwylyd,
Ti yw seren fy nedwyddyd;
Hebot ni chawn ddim ond blinfyd.
Drwy fy mywyd mwy.

## YR AFON GLWYD.

TON: "*Oh! Susannah.*"

Fy Awen dyner, anwyl,
Dadebra 'n awr, a chwyd;
Tyr'd gyda mi i roddi tro
Hyd lanau afon Glwyd:
Mae glan pob afon brydferth
Yn hoffus it' bob pryd,
Gan hyny, 'r awrhon, tyr'd at lan
Y decaf yn y byd.
O! afon Glwyd glodwych,
Mor anwyl wyt i mi;
Mor hoff yw genyf rodio 'n glau
Ar hyd dy lanau di!

'R wy'n awr wrth fin yr afon—
Gan hyny, f' Awen, cwyd,
A welaist ti anwylach man
Na glan yr afon Glwyd?
Fan yma ceir prydferthwch
Yn ei hawddgaraf wedd;
A dyma 'r fan, fy Awen fwyn,
I ni eill dau gael gwledd.
O! afon Glwyd glodwych, &c.

'R wy 'n llawer mwy na brenin,
  Fy Awen, gyda thi,
Tra 'n rhodio glanau 'r afon Glwyd,
  Sy'n llawn o swynol fri ;
Myn'd ymaith wna 'm gofidiau,
  Fel us o flaen y gwynt,
Wrth imi rodio, âg ysgafn fron,
  Yn y fan hon ar hynt.

O ! afon Glwyd glodwych, &c.

Heb swn i'm haflonyddu,
  Ond odlau 'r adar mwyn,
A ffrydiau 'r afon, ro'nt i mi
  Ryw si fedd ryfedd swyn ;
Dymunwn, f' anwyl Awen,
  Cael treulio gweddill f' oes
Byth gyda thi i eilio cân,
  A chalon lân heb loes.

O ! afon Glwyd glodwych, &c.

Ond, Ow ! ni chaf gyflawniad
  O'r hoff ddymuniad hwn ;
Mae 'r byd yn galw—clywaf o :—
  "Rhaid iti gario'th bwn :"
Yn lle cael gwrandaw odlau
  Yr afon loew ferth,
A'r adar mân, rhaid gwrandaw twrf
  Dynolion creulawn certh !

O ! afon Glwyd glodwych,
  Mor anwyl wyt i mi ;
O ! na chawn gyda'r Awen glau,
  Byth rodio 'th lanau di !

## ELEN.

Elen addfwyn, ddoeth, a serchog,
Llawn wyt o bob swyn ardderchog ;

Cariad nefol a thlysineb,
Sy'n cydwenu yn dy wyneb.

Yn dy lais mae pob rhagoriaeth,
Sy'n perthynu i gerddoriaeth ;
Mae dy lais a'th wedd wy'n foli,
Yn dra nerthol i'm rheoli.

Canys pan y byddi 'n canu,
Bydd fy ngofid yn diflanu ;
Ond pan glywaf dy ochenaid,
Galar fŷn orlenwi f' enaid.

Mwy ei swynion na rhosynau,
Llawer mwynach na thelynau ;
Yw 'th wefusau wrth lefaru,
Yn gorfodi pawb i'th garu.

Teithio daiar wna rhai bodau,
Er cael gweled rhyfeddodau ;
Ond i b'le y teithiaf finnau,
Ond at Elen deg ei rhiniau ?

Ydwyt well, a mwy hyfrydol
Na phob da a mwyniant bydol ;
Gwell na 'r aur, a gwell na 'r arian,
Ydyw f' Elen, hawddgar rïan !

1856.

## BEDDROD ELEN.

FAN yma y safaf yn brudd,
  Dan gysgod yr ywen ddu-werdd;
Fan yma y golchir fy ngrudd,
  Gan ddagrau sy'n chwerwi fy ngherdd;
Fan yma pob cysur sy'n ffoi,
  Fan yma diflana pob hedd ;
Can's dyma y ddaiar sy'n toi
  *Fy Elen!* Ow ! dyma ei bedd.

Cwynfanu o'm deutu wna 'r gwynt,
  Fe wyla 'r afonig ger llaw;
Mae 'r adar, wrth 'hedeg ar hynt,
  Yn crynu gan arswyd a braw:
Ni welaf mewn unpeth o'm blaen,
  Ond galar yn dangos ei wedd;
Mae galar—du alar—ar daen,
  Ar bobpeth o amgylch ei bedd.

Ond beth am y galar y sydd
  Yn awr yn gorlenwi fy mron;
Nid ydyw holl ddagrau fy ngrudd
  Ond dafnau o'r môr sydd yn hon:
O'i mewn y mae galar yn byw,
  Yn gadarn deyrn echrys ei wedd;
A'i enbyd deyrnwialen ef yw,
  Y ffaith fod fy Elen mewn bedd.

Fod Elen mewn beddrod yn ffaith!
  Nid yw peth mor erchyll ond rhith;
Ond pa'm y mae 'r ddaiar yn llaith,
  Gan ddagrau aneirif y gwlith?
A ph'am mae 'r cymylau oll fry,
  Mor dduon—mor bruddaidd eu gwedd?
O b'le doe 'r fath alar ag sy',
  Ond am fod fy Elen mewn bedd?

Mae Elen mewn beddrod yn wir,
  Mae hyny 'n wirionedd, O! yw;
Ond methaf ei goelio yn glir—
  Nis gallaf ei goelio a byw;
Er y dwedir gan reswm yn hyf,
  Na welaf fi mwyach ei gwedd;
Ond eto, mae serch yn rhy gryf
  I gredu fod Elen mewn bedd.

Pa beth! ai fy Elen mewn bedd!
  Angyles tra yma 'n y byd;
Na welwyd beth tecach na'i gwedd,
  Heb law ei chain feddwl, un pryd;
Fy Elen yn ddystaw 'n y llawr,
  A phridd dros brydferthwch ei gwedd;
O! pa fodd y coeliaf fi 'n awr
  Fod Elen anwylaf mewn bedd.

Mewn bedd mae 'r drwg adyn a fu
   Ar 'sgwyddau cymdeithas yn bwn;
Ai ni cha'dd fy Elen fwyn gu
   Ddim cartref rhagorach na hwn?
A allai'r hen angeu dewr fod
   Mor greulawn a chodi ei gledd,
A chym'ryd fy Elen yn nôd,
   I'w chwympo i ddyfnder y bedd?

Ow! credu 'r gwir echrys a raid,
   Nis gallaf ymattal yn hwy;
Fy nagrau ddylifant heb baid,
   I brofi 'r gwirionedd erch mwy:
Ei gredu a raid, er pob loes,
   A gofid ofnadwy ei wedd,
Ac er im' derfynu fy oes,
   O herwydd fod Elen mewn bedd.

Mor ddedwydd cydrodiem ni gynt—
   O! ddyddiau hyfrydol fu 'r rhai'n!—
Hyd lanau 'r afonig ar hynt,
   Dros feusydd hyfrydol a chain:
Wrth edrych ar anian deg fwyn,
   Dychlamai ei chalon mewn hedd,
O'i gweled, fel hithau, 'n llawn swyn—
   Ond och! y mae 'n awr yn ei bedd.

Ni wel hi mo anian fwyn hardd,
   Ni chwardd gan ei swynion yn awr;
Yn ei chartref mewn daiar ni thardd
   Blaguryn na rhosyn teg wawr;
Ceir blodau—a thlysion ynt hwy—
   Yn hulio ei hannedd mewn hedd;
Ond ni wel hi flodau byth mwy—
   Ni thyf un blodeuyn mewn bedd.

P'le mae 'r un lefarai mor fwyn—
   A ganai mor beraidd a llon,
Fel eos min nos yn y llwyn,
   Nes gyru pob gofid o'm bron?
Er ceisio cael clywed ei llais,
   Un nodyn o'i genau teg wedd;
Och! ofer, llwyr ofer yw 'm cais,
   Cauedig yw'r genau mewn bedd!

Ond, na, na! nid felly y mae—
  Nid bedd yw ei chartre'r awr hon;
'D oes yma ond y telpyn o glai,
  Mae Elen mewn cartref mwy llon;
Yn nghanol gogoniant mae hi,
  Yn nghanol rhosynau mewn hedd;
Myrdd gwell na rhosynau 'n byd ni—
  O! nid ydyw Elen mewn bedd.

Hi wel bethau tlysach fil myrdd
  Nag anian a'i blodau i gyd;
Gwel goedydd bob amser yn wyrdd,
  Heb auaf i'w gwywo un pryd;
Mae hithan yn canu yn fwyn,
  Ryw anthem ysblenydd mewn hedd;
Pa ham y dyrchefais fy nghwyn,
  Gan dybio fod Elen mewn bedd?

Dau air wyf yn gofio yn awr,
  Ynt well na'r holl eiriau sy'n bod;
Sef, *Crist—tragwyddoldeb*—sy fawr:
  Mae 'r olaf o'r cyntaf yn dod;
Drwy 'r cyntaf, 'r wy'n gwybod caf fi
  Wel'd Elen ryw ddiwrnod mewn hedd;
Drwy 'r olaf, byth ni raid i mi
  Ddim ofni nac angeu na'r bedd.

1856.

## YR HEN YWEN WERDD.

TRA yn awr o dan dy gysgod,
  Yr hen ywen werdd;
Llawn yw'm bron o ddwys fyfyrdod,
  Yr hen ywen werdd;
Meddwl 'r wyf â phruddaidd galon,
Am fy hoffus hen gyfeillion,
Hunant wrth dy wraidd yr awrhon,
  Yr hen ywen werdd.

O! mor lon y gwnaem gyd-chwarau,
    Yr hen ywen werdd;
Gynt o dan dy bruddaidd gangau,
    Yr hen ywen werdd;
Ac ni ddoe i'r fron un trallod,
Am in' feddwl am y diwrnod
Y gorweddem dan dy gysgod,
    Yr hen ywen werdd.

Ond mae 'r adeg wedi pasio,
    Yr hen ywen werdd;
Byth ni chawn gyd-chwareu eto,
    Yr hen ywen werdd;
Gwledda 'n dawel wnei di arnynt,
Sudd dy ddail a gei o honynt;
Wylo 'r wyf wrth gofio am danynt,
    Yr hen ywen werdd.

1857.

---

## Y GWANWYN.

Mae 'r gwanwyn wedi dod,
    Ac anian sy'n adloni;
Mae pobpeth is y rhod
    I'w ganfod yn bywiogi.

Mae 'r adar bach i gyd
    Yn plethu eu hodlau mwynion;
Mor hyfryd ar bob pryd,
    Yw gwrandaw eu caneuon.

I fyny tua 'r nen,
    Esgyna yr ehedydd;
Gan byncio 'n fwyn uwch ben,
    Ogoniant ei Greawdydd.

Yr ŵyn sydd wrth y llwyn,
    Yn chwareu eu campau 'n heini';
O! dyma dymmor mwyn,
    A llawn o swynion ini.

Mae 'r bugail yr awr hon
  A'i galon yn llawenu ;
Heb flinder dan ei fron,
  Fe glyw y gog yn canu.

Mor dlôs yn awr yw 'r ardd—
  Mor hardd yw 'r olwg arni ;
A'r arogl peraidd dardd
  O'r blodau blydd sydd ynddi.

O ! dymmor dedwydd iawn,
  A llawn o bob hyfrydwch,
Yw 'r Gwanwyn—ynddo cawn
  Y ddaiar yn ei thegwch.

Wrth ddyfod yn ei fri,
  Cynhesa ein calonau ;
A lleinw 'n daiar ni
  A phrydferth addurniadau.

A gwisgoedd teg eu rhyw,
  Dillada ein holl feusydd ;
Dan ddail a blodau gwiw,
  Mor anwyl ydyw 'r coedydd !

Clyw leisiau 'r gwenyn bach,
  Wrth gasglu mel yn ddygyn ;
Adroddant pa mor iach
  A hyfryd ydyw 'r Gwanwyn.

Ar ol i'r Gauaf du
  Ysbeilio 'n gwlad o'i harddwch,
Fe ddaeth y Gwanwyn cu,
  Gan ddwyn yn ol ei thegwch.

Ond cofiwn hyn i gyd—
  Pan ddelo gauaf bywyd,
Ni welir gwanwyn clyd
  I'w ddilyn unrhyw ennyd !

O ! am gael myn'd i fan
  Lle mae hi 'n wanwyn yno
Am oesoedd rif y gwlith,
  A'r blodau byth heb wywo !

1852.

## Y RHOSYN.

O! DEGWCH mor fawr fedd y rhosyn hoff wawr,
  A welaf fi 'n awr yn yr ardd;
Ei dynu yn llon a wnaf yr awr hon—
  Caiff fod ar fy nwyfron yn hardd.

Ow! gwywo a wnaeth!—ei harddwch a aeth,
  Er gofid, ysywaeth! i mi;
Nis gall e'r awr hon addurno fy mron—
  Fe gollodd ei swynion a'i fri!

Cyffelyb, yn wir, yw 'n heinioes ar dir,
  Gan angeu fe 'n torir i'r llawr;
Nid ydym i fod yn hir is y rhod,
  Fe 'n bwrir i'r beddrod bob awr.

Yn nyfnder y bedd, yn isel fy ngwedd,
  Yn fuan caf orwedd yn fud;
Ac yna 'n ddiau rhof ffarwel yn glau
  I chwantau a beiau y byd.

1852.

## LLYGAID Y DYDD.

MOR dlysion yw llygaid y dydd,
  Mor anwyl yw pob un o honynt;
Hoff genyf eu gweled a fydd,
  A syllu yn fanwl iawn arnynt.

Pan fyddo gwrthddrychau y llawr
  Gan d'w'llwch yn cael eu gorchuddio,
A phobpeth i'w weled yn awr
  Yn myned i dawel orphwyso:—

Fe ddengys hoff lygaid y dydd
  Fod anian a'i thylwyth yn cysgu;

A than eu hamrantau yn gudd,
   Fe'u ceir nes i anian ddadebru.

Ond pan y bydd brenin y dydd
   Yn dyfod o'r dwyrain dan wenu,
Pob llygad bach euraidd a fydd
   Yn agor yn brydferth pryd hyny.

Fel llygaid y dydd byddaf fi
   Yn huno yn nhawel fro angau,
Nes delo 'r archangel mewn bri
   I agor fy nhynion amrantau.

Ac yna cyfodaf o'm bedd,
   Wrth grochlais yr udgorn rhyfeddol,
I drigo mewn mwyniant a hedd,
   Heb ofid na phoen yn dragwyddol.

1853.

## Y BARDD YN CYFARCH ANIAN.

O, Anian! O, Anian! O, Anian ardderchog!
   Mae 'th enw anwylaidd yn meddu 'r fath swyn,
Nes llenwir fy nghalon â theimlad tra serchog,
   A pherffaith lawenydd pan enwir di 'n fwyn.

Tydi yw fy mam: er yr ennyd y'm ganwyd,
   Mi ges bob ymgeledd ar d' aelwyd dêg, lân;
Tydi sy'n fy nysgu, a chenyt ti 'm llanwyd
   Ag awen fwyn beraidd i dyner wau cân.

Er na chefais addysg mewn unrhyw athrofa,
   Na 'm hurddo yn un o ddysgawdwyr y byd,
Ar fron fy mam Anian, fy enaid a brofa
   O ffrydiau dilwgr dysgeidiaeth bob pryd.

Wrth ddarllen dwfn weithiau y doeth athronyddion
   Anfarwol eu clodydd, anfarwol eu bri,
'R wy'n gwel'd na wnaent hwy, mwy na 'r enwog brydyddion,
   Ond adrodd y gwersi a gaent genyt ti.

Wrth weled mewn syndod dy deg addurniadau,
  Fy nghalon pryd hyny sy'n llamu yn llon;
A phan yn mwynhau dy ddi-ail arlwyadau,
  Bydd nefol ddyddanwch yn llenwi fy mron.

Mynegu 'n deg imi yr ydwyt, heb ballu,
  Am fy hoff Greawdwr sy'n llywio y byd,
Gan ddangos ei ddirfawr ddoethineb, a'i allu,
  A'i ryfedd ddaioni tuag atom bob pryd.

Ac yr wyt nid yn unig yn gwir dystiolaethu
  I mi yn dra eglur bob awr am fy Nuw,
Dangosi di hefyd pa fodd i'w was'naethu,
  A gwerthfawr esamplau godidog eu rhyw.

O herwydd pan fyddwy'n myn'd allan y borau
  I'th wel'd yn dy dlysni ysblenydd a chu,
Caf wel'd dy gerddorion yn aml heirdd gôrau
  Yn moli eu Crëwr yn llon ar bob tu.

Dy lyfr tra ardderchog yw 'r unig lyfr gwreiddiol
  A ganfu dynolion erioed onid *un;*
Ein Beibl yw hwnw, a'i wersi sancteiddiol
  A wnaed gan y Duwdod er addysg i ddyn.

Na sonied awduron y byd am wreiddioldeb,
  Darfydded eu hymffrost—un ofer iawn yw;
Nis gallent gael gronyn o wir ragoroldeb,
  Heb iddynt ddynwared fy mam a fy Nuw.

Tra byddwyf gan Anian yn cael fy nyddanu,
  Mi heriaf ofidiau a phobpeth o'r bron;
A swynaf drigolion y byd tra yn canu
  Ar lin fy mam anwyl yn ddedwydd a llon.

Nid wyf yn chwennychu urddenwau daiarol—
  I mi ni feddiannant na mawredd na swyn;
Yr unig urddenw sydd imi 'n hygarol,
  Yw plentyn ufuddawl i Anian deg fwyn.

## HOFFDER YR AWENYDD.

Dwys wrandaw yn dawel
Gerddoriaeth yr awel,
Fel adsain rhyw nefol delynau,
A gara 'r Awenydd,
A'i ben ar obenydd
O esmwyth a phrydferth rosynau.

Hoff gan yr Awenydd
Yw gweled ysblenydd
Ogoniant dysgleirwych y boreu;
Ac anian buredig
Fel pe yn drwsiedig
Gan degwch ei gwisgoedd goreu.

Mae 'n ddedwydd pan welo
Y rhaiadr a ddelo
Dros glogwyn yn filoedd o ddarnau:
Mewn syndod fe ddywed :—
"Swn pa beth wy'n glywed ?
March ffromwyllt â miloedd o garnau."

Bydd dirfawr lawenydd
Yn llenwi 'r Awenydd,
Wrth rodio gardd deg llawn o flodau;
Yn mhob rhosyn tyner,
Neu ddeilen, os myner,
Gwel filoedd o gain ryfeddodau.

Ar ddysglaer afonydd
Ddylifant yn llonydd,
Neu'n hoew-wyllt, fe edrych yn llawen;
Ac ar eu hoff lenydd,
Fe dderbyn ysblenydd
Gymdeithas nefolaidd yr Awen.

Ond ofer im' lenwi
Fy nghaniad wrth enwi
Y rhyfedd a'r gwerthfawr drysorau
Fedd anian ardderchog
I foddio 'r bardd serchog—
*Maent* amlach na mân wlith y borau.

## YR EHEDYDD.

Hoff genyf fyn'd allan yr haf yn y borau,
I rodio y meusydd hyfrydol sy draw;
Goleuni ymleda dros euraidd ororau,
Gan ddangos prydferthwch y dydd ar bob llaw.

Ac yna caf weled yr 'hedydd bach llawen,
Yn ysgafn ddyrchafu rhwng daiar a nen;
Mor beraidd, mor dyner, mor nefol ei awen,
Mae 'n seinio caniadau seraphaidd uwch ben.

Aderyn anwylaf! pa ham, imi dywed,
Yr ydwyt yn gadael ein daiar mor hy';
Ai dysgwyl yr ydwyt yn awr am gael clywed
Caniadau angelion a seintiau sy fry?

Ond mawr yw y syndod a'm lleinw tra 'n canu,
Wrth weled creadur disynwyr a gwan
Mor hynod o barod i serchog foliannu
Ei ryfedd Greawdwr a'i nawdd yn mhob man.

Ac O! 'r hwn a grewyd yn fil mwy odiaethol
Na 'r holl greaduriaid sydd yma 'n y byd,
Mewn deall ac addysg—â'i rwymau annhraethol,
Fyrddiynau o weithiau—mor aml yn fud!

Fy enaid! fy enaid! os ydyw 'r ehedydd
Mor ddiwyd, mor wresog, yn canmawl ei Dduw,
O! pa fodd y dylit ti foli 'th Waredydd,
Yr hwn a fu farw er iti gael byw. 1855.

## YR ADERYN BACH.

Mehefin 13eg, 1856:—tra yr eisteddai yr Awdwr a'i fam yn y parlwr, yn yr hwyr, clywent aderyn bach yn canu yn beraidd yn yr ardd ger llaw: a dywedai yr olaf: "O! pe bawn i 'n medru canu fel yr aderyn bach yna!"

O! mi ddymunwn i pe bawn
Yn gallu canu 'n hardd,

Fel yr aderyn anwyl iawn
Sy'n pyncio yn yr ardd.

Ni wnawn ond canu drwy fy oes,
A chalon lawn o dân;
A phob rhyw drallod, a phob loes,
Anghofiwn yn fy nghân.

O! fel dymunwn ganu 'n llon,
Fel yr aderyn bach;
Heb unrhyw drallod dan fy mron,
Mewn calon berffaith iach.

Mi ganwn nes âi prudd-der yn
Llawenydd ger fy mron;
A dal i ganu wnawn nes myn'd
I'r nef o'r ddaiar hon.

Fel ef, dymunwn roddi 'n gu
I'm Harglwydd nefol gân;
Pob nodyn mwyn yn èsgyn fry
O galon berffaith lân.

Ac O! mi ganwn megys un
O engyl gwynion gwawl,
Rhyw ganiad bêr, nes cael fy hun
Yn mro tragwyddol fawl.

A gaiff y rhei'ny daro tant
Yn ngwlad y moliant mawr,
Nad ydynt byth yn teimlo chwant
I ganu peth yn awr? 1856.

## Y GOLOMEN WEN.

Anwylyd hoff! dy weled di,
Golomen wen,
Yn wir fawr a garaf fi,
Golomen wen;

Wyt lawn o nefawl synawl swyn—
Wyt imi fel angyles fwyn,
A ddaeth o'r nefoedd er fy mwyn,
Golomen wen.

Mae 'th wisg heb ail, a thithau 'n bùr,
Golomen wen ;
A llon yw 'th galon a di-gur,
Golomen wen :
Pa beth yn fwy ddymunwn i
Na chalon fel dy galon di,
Heb bechod cas i'w blino hi,
Golomen wen ?

Nid oes dim balchder dan dy fron,
Golomen wen ;
Mwynhau dy ran wnei di yn llon,
Golomen wen :
Pe caet holl fawredd bonedd byd,
A'u holl drysorau goreu i gyd—
Nis gallent oll ddim dwyn dy fryd,
Golomen wen.

Ychydig a'th foddlona di,
Golomen wen ;
'D oes arnat eisieu parch na bri,
Golomen wen ;
O ! na bai mawrion beilchion byd
Yn dyfod atat ti yn nghyd—
Caent addysg well na pherlau drud,
Golomen wen.

Pan oedd Iachawdwr dynolryw,
Golomen wen,
Gynt ar y ddaiar hon yn byw,
Golomen wen,
Fe a ddywedai wrthym ni
Am fyw 'n ddiniwed fel tydi,
Gan ochel brad, a thwyll, a bri,
Golomen wen.

Pan ddel ar g'oedd holl bobloedd byd,
Golomen wen ;
I garu 'r rheol hon o hyd,
Golomen wen ;

A'n daiar gu, 'r hon sy' yn sedd
I bob rhyw wae a'i bybyr wedd,
Yn ddiail hoff eisteddle hedd,
Golomen wen.

'N awr ar fy Iôn gweddïaf fi,
Golomen wen—
Ar iddo 'm gwneuthur fel tydi,
Golomen wen;
Drwy dynu brad a thwyll o'm bron,
Gael lle i ddiniweidrwydd llon,
I wneyd ei sedd mewn hedd yn hon,
Golomen wen.

---

## PERO, Y CI DU.

O! TYRED, fy Awen deg fwyn, yr awrhon,
Dy gwmni bob amser sy'n ddifyr a llon;
O! tyred heb oedi i blethu yn gu
Ryw ganiad gain hynod o glod i'r ci du.

Pan fyddwyf yn myned ar fore haf teg,
I edrych ar anian a'i heirdd flodau chweg;
Tra'n rhodio y meusydd ysblenydd a chu,
Fy nghanlyn yn ffyddlawn y bydd y ci du.

A phe b'ai rhyw elyn ofnadwy yn dod,
A gwneuthur rhyw niwed i mi ganddo 'n nod,
Ni wnawn i ddim ofni, pe 'n nghanol twrf llu
Y byddwn, os yno y byddai'r ci du.

Pan fyddwy'n dod adref, 'r ol bod yn y dref,
Cyn gynted a'r fellten i'm cwrddyd daw ef;
Ac O! 'r croesaw calon na cheir gan y llu,
A roir i mi 'n ebrwydd gan Pero, 'r ci du.

A phan bydd y t'w'llwch yn llen dros y llawr,
A minnau yn huno yn dawel yn awr,
Fel arwr cryf cadarn, fai'n ddychryn i lu,
Yn ymyl fy nhrigfan y ceir y ci du.

Pe collwn i Pero, gi parod ar dir—
Can's yna mi gollwn i gyfaill yn wir—
Yn daer mi erfyniwn ar f' awen fwyn gu,
Wneyd marwnad ragorol o glod i'r ci du.

---

## FY ARLUN:

A dynwyd gan Mr. R. D. Roberts, photographist, Rhuthyn.

TON: "*Gadael Tir.*"

GWNAETH Risiart arlunydd rhyw ddarlun ysblenydd
O Risiart y prydydd, un celfydd teg yw;
Rhydd brawf i'r edrychydd adwaena 'r Awenydd,
Bob dydd, mai lluniedydd llawn ydyw.

Wrth weled fy arlun, bydd cyfaill yn gofyn:—
"Wel, Risiart wych hyfwyn, pa fodd yr ych chwi?"
Ond wrth iddo ganfod fod clo ar fy nhafod,
Bydd syndod hael hynod i'w lenwi.

O, Roberts! 'd oes undyn o'ch bath am wneyd darlun
Tu allan i Ruthyn, a dilyn mor deg
Bersonau 'n bur synawl, mewn lluniau dymunawl,
Cywirawl, bywydawl, bob adeg.

Mae 'm darlun hynodol yn fyrdd gwell i'ch canmol,
Nag a fai rhyw swynol ragorol fwyn gân
O waith rhyw odidog gadeirfardd ardderchog—
Y goreu o enwog feirdd anian.

Chwychwi, sy'n dymuno am gael eich iawn lunio,
Gwna Roberts eich boddio:—ewch ato, da chwi;
A byddwch 'r wy'n dwedyd i'ch cael ar fyr ennyd,
Yn methu a symmud gan siomi:

O herwydd eich tynu wna Roberts heb ballu,
Mor dda nes eich gyru i ryfeddu 'n wir fawr
A mwyn siomedigaeth rhyfeddol ac odiaeth,
A leinw 'ch ystyriaeth dros deirawr.

Waeth imi un gronyn gyfaddef yn sydyn
  Nas gallaf o'm testyn roi darlun gwir deg—
Maen 'n destyn mor fwyn-gu a hynod, gan hyny
  Waeth tewi na chanu ychwaneg.

1858

---

## TESTIMONIAL.

"Dywed wrthyf, gyfaill hael,
  'N awr heb attal,
Pwy 'n bresennol fydd yn cael
  *Testimonial?*
Ai yr hwn sy'n gwneuthur da
  Yn ddiddiwedd,
Ac heb ddysgwyl byth y ca
  Glod na mawredd?"

"Nage, gyfaill: 'r wyf fi' n siwr
  Y ca hwnw
Fyn'd trwy'r byd heb fawr o 'stwr,
  Ac felly marw;
Ond yr hwn sy'n gwneyd rhyw beth
  Am aur heb attal—
Dyna 'r gwron gaiff heb feth,
  *Destimonial.*

"Nid oes ar y lili wen
  Eisieu 'i phaentio;
Ond fe glywais i fod Gwen,
  Weithiau 'n lliwio;
Ni raid paentio'r dyn gwir dda,
  Sy'n deg ddihafal;
Ond am y ffol, ei baentio ga
  A *Thestimonial.*"

"Wel, fy nghyfaill, os wyt ti
  Yn ddiduedd,
Ac os d'wedaist wrthyf fi
  Y gwirionedd,

"Byth ni welir fi un pryd,
Yn myn'd mor wammal
A derbyn nôd ynfydion byd—
Sef *Testimonial.*"

1856.

---

## TWM Y GO', A DEIO 'R EISIN SIL.

TON: "*Miss Morgans fawr.*"

HOLL feibion Cymru dirion, o hen Frythoneg hil,
Gwrandewch ar hanes Twm y Go', a Deio 'r Eisin Sil;
'R oedd Twm a Dai yn gweled bai
Ar bawb a phobpeth ond eu hunain;
'R oedd Twm am riwlio Dai,
A Dai am riwlio Prydain,
Hefo'u wac ffal di ral lal,
Twm y melyn lolyn lelo;
Hoiti toiti Dai, Dai,
Rali, lali, *lo!*

Cymdeithas hymbyg Heddwch oedd yn moedro 'menydd Tom,
A Dai yn mhydew *politics*, fel mochyn yn y dom;
'R oedd Siân a Siôn, a Doli'r Lôn,
Yn caru Deio a'i ffiloreg;
A Robyn Rhydderch Prydderch Puw,
Yn hoffi Twm a'i ddammeg.
Hefo'u wac ffal di ral lal, &c.

Tra'r oeddynt yn pendroni, yr oedd y gwaith ar ol,
A phawb yn pwyntio gyda bys—Wel dyma ddynion ffol:
O step i step, y felin glep,
A'r olwyn gocos aeth i gecsan;
Ni chlywid mwyach ordd na hoel,
Na phedol ar yr engan,
Hefo'u wac ffal di ral lal, &c.

Wel dyma rybudd i bob dyn i beidio cadw swn,
Rhag iddynt fyn'd fel Tom a Dai, i'r kennel efo 'r cwn;

Wrth ddilyn trics a *pholitics*,
  Ni fydd i ffyliaid ond anhunedd;
Ac änt o'u co' fel Twm y Go',
  A Deio yn y diwedd:
    Hefo'u wac ffal di ral lal,
      Twm y melyn lolyn lelo;
    Hoiti toiti Dai, Dai,
      Rali, lali, *lo!*

TALHAIARN.

---

## ATEBIAD TWM Y GO.'

TON: "*Siencyn Morgan.*"

DOWCH Gymry teg eu gwawr,
  Gydwladwyr hoff a serchog,
I wrando cerdd yn awr
  I Tal, y prydydd barfog—
Sy'n fawr ei 'stwr bob pryd,
  Yn chwerthin a bragaldio;
Nid oes dim yn y byd
  Yn cael llonyddwch ganddo.

Mae 'n bleidiwr mawr ei ddawn
  I ryfel a'i wasgfeuon;
Peth gogoneddus iawn
  I'w feddwl yw lladd dynion;
Ond beth pe byddai 'r gŵr
  Am ryw ychydig oriau,
Yn ymladd ar dir neu ddŵr,
  Mewn gwaed at benau 'i liniau:—

Fe waeddai, "O! na bai
  Cymdeithas anwyl Heddwch,
Ar frys yn dwyn pob rhai
  I garu iawn a thegwch;
Och! beth pe bai ryw ddiawl
  Yn dwyn fy mhenglog ymaith;
Ow! ow! mi gollwn hawl
  I'm cerdd a'm barf ar unwaith."

"Byth ni welir fi un pryd,
Yn myn'd mor wammal
A derbyn nôd ynfydion byd—
Sef *Testimonial.*"

1856.

---

## TWM Y GO', A DEIO 'R EISIN SIL.

TON: "*Miss Morgans fawr.*"

HOLL feibion Cymru dirion, o hen Frythoneg hil,
Gwrandewch ar hanes Twm y Go', a Deio 'r Eisin Sil;
'R oedd Twm a Dai yn gweled bai
Ar bawb a phobpeth ond eu hunain;
'R oedd Twm am riwlio Dai,
A Dai am riwlio Prydain,
Hefo'u wac ffal di ral lal,
Twm y melyn lolyn lelo;
Hoiti toiti Dai, Dai,
Rali, lali, *lo!*

Cymdeithas hymbyg Heddwch oedd yn moedro 'menydd Tom,
A Dai yn mhydew *politics*, fel mochyn yn y dom;
'R oedd Siân a Siôn, a Doli'r Lôn,
Yn caru Deio a'i ffiloreg;
A Robyn Rhydderch Prydderch Puw,
Yn hoffi Twm a'i ddammeg.
Hefo'u wac ffal di ral lal, &c.

Tra'r oeddynt yn pendroni, yr oedd y gwaith ar ol,
A phawb yn pwyntio gyda bys—Wel dyma ddynion ffol:
O step i step, y felin glep,
A'r olwyn gocos aeth i gecsan;
Ni chlywid mwyach ordd na hoel,
Na phedol ar yr engan,
Hefo'u wac ffal di ral lal, &c.

Wel dyma rybudd i bob dyn i beidio cadw swn,
*Rhag iddynt fyn'd fel* Tom a Dai, i'r kennel efo 'r cwn;

Y Seintiau wnaent lefaru
  Yn nyeithr ieithoedd byd,
Ac yna gwnaent gyfieithu
  Y geiriau oll i gyd :—
"Rw rwgw rwgw," dd'wedent,
  "Rw rwgw rwgw'r aeg ;"
Ac yna, hwy gyfieithent
  Y geiriau i'r Gymraeg.

'R ol hyny, gwnaent i'r mudan,
  Nas gallai dd'weyd un gair,
I fod mor hyawdl weithian
  A gwerthwr pysg mewn ffair ;
A'r cloff, oedd yn ymlusgo
  Yn egwan wrth ddwy ffon,
A wnaent hwy 'n awr i brancio,
  Fel carw 'n hyf a llon !

O'r diwedd, aent i wneuthur
  Y wyrth ryfeddaf fu—
A hyny oll yn eglur,
  Heb dwyll, ger bron y llu ;
Sef codi 'r marw i fyny,
  I rodio gyda'r byw,
Fel byddai i bawb gredu
  Eu geiriau nefol ryw.

Y marw roed i orwedd,
  Ar goedd, ger bron y llu,
Edrychent arno 'n rhyfedd—
  A mawr ddysgwyliad fu
Am wel'd yr hwn oedd farwol,
  Heb symmud llaw na throed,
Dan ddwylaw rhyw apostol,
  Mor fywiog ag erioed !

Ar hyn, daeth cigydd heibio,
  Gan edrych yn ddifraw,
A *chlufar* mawr oedd ganddo,
  A ddaliai yn ei law ;
A chanfu ef, ŵr heini',
  Eu twyll a'u hoced hwy,
A nesu wnaeth i brofi
  Eu gallu gwyrthiol mwy.

Mae Tal yn groes o hyd
  I bob diwygiad llesol,
Mae ef am gadw 'r byd
  Mewn t'w'llwch yn dragwyddol;
Ni fyner ddim i'r gŵr
  Sydd yn llafurio 'n galed,
Gael gwybod dim, bid siwr,
  Am ddim ond gweithio ac yfed.

Mae am ein cadw ni,
  Y dosbarth gweithgar helaeth—
Colofnau 'r byd a'i fri—
  Yn mhydew anwybodaeth;
Heb wybod dim am "drics"
  Ein mawrion uchelfrydig,
Na deall *politics*,
  Ond talu 'r trethi 'n ddiddig.

Paid, paid, y barfog ddyn,
  A bod mor ffol ac anghall;
Ymrô i'th ddysgu 'th hun
  Cyn myn'd i ddysgu arall;
A phaid a meddwl, Tal,
  Fod Cymru 'n awr mor ufudd,
A gwrando 'n ddwys a dal
  Ar eiriau ffol dy rybudd. 1854.

---

## MORMONIAID YN CYFLAWNU GWYRTHIAU.

Rhyw ddiwrnod, yn Llynlleifiad,
  Y bobl hyny oedd,
A elwir yn Formoniaid,
  Yn gwneuthur gwyrthiau ar goedd;
A ffyliaid oedd yn synu,
  A bron a cholli eu co',
A buan y gwnaent gredu
  *Athrawiaeth* ddengar Joe.

Am arian, gwna 'r llencyn ryw fargen go ddrud,
Drwy fyned dan iau y gofalon,
A benyw fedd dafod gryn dair llath o hyd,
Ond eto heb ben ac heb galon.

Am arian, mae lluoedd o ddynion i'w cael
Yn myn'd dros y môr i Awstralia;
Ar ol iddynt feddwl y cânt yno 'r fael,
Yn iach i fynyddoedd Gwyllt Walia.

Am arian, am arian, ceir gweled y dyn
Yn myned i hyf wasanaethu
Ei genedl yn ffyddlawn, drwy roddi ei hun
Yn nod i rai ereill ei saethu!

Ond pa beth yw arian, y rhai sy bob dydd
Mor werthfawr ac anwyl gan ddynion?
Ho! dim ond rhyw ddefnydd a godwyd o'r pridd,
Ac a luniwyd yn ddarnau bach crynion!

1856.

---

## Y FFORDD HAIARN.

Creadur rhyfedd, rhyfedd,
Mewn deall ydyw dyn!
'Fath rym ac uchel fawredd
Sydd wrth ei waith yn nglŷn;
Gwna i'r elfenau mawrion,
Drwy 'r ddaiar faith a'r nef,
I ddo'd yn ufudd weision
I'w wasanaethu ef.

Ha! gwelaf ef yn blino
Ar deithio gyda'r march,
Er cael ei gario ganddo
Yn esmwyth wrth ei arch;
Fe eilw 'r ager nerthol,
Sef plentyn dwfr a thân,
I'w ddwyn mewn brys anferthol
Yn ol, neu ynte 'n mlaen.

Gan hyny, fe a safodd
Ger llaw y marwol un,
A'r *dufar* mawr a gododd
Yn nerthol, megys dyn,
Ar fedr tori 'n grocew
Ei benglog gwag, er sen ;—
Os ydoedd wedi marw,
Pa ddrwg oedd tori ei ben !

Ond wele 'n awr y llelo
Gymmerai arno 'i fod
Yn farw, er mwyn twyllo
Rhyw ffyliaid isel nod,
A ofnai deimlo gallu
Y dyrnod marwol rym,
A neidiai 'r gwalch i fyny—
A da oedd ganddo fyw.

Y bobl wnaent resynu,
Wrth ganfod y fath dwyll ;
A'r ffyliaid wnaent grechwenu,
Nes gyru 'r Saint o'u pwyll ;
A'r Seintiau—druain oeddynt !—
A redent oll yn awr,
Can's sefyll mwy nis gallent—
Eu c'wilydd oedd mor fawr.

1854.

---

## ARIAN.

Am arian, mae 'r *twrne* yn agor ei geg,
I draethu rhyw anferth gelwyddau ;
Am arian mae teulu y faino, â gwên deg,
Yn dryllio holl urddas eu swyddau.

Am arian, mae 'r prydydd yn d'wedyd yn fwyn,
Mai 'r cnaf ydyw 'r mwyaf daionus ;
A dywed, mewn geiriau rhyfeddol eu swyn,
*Mai 'r cybydd yw 'r mwyaf haelionus* !

'R oedd hen fynyddoedd Cymru
  Mewn cyffro 'r ennyd hon;
Wrth iddynt bruddaidd syllu,
  Hwy grynent oll o'r bron,
Pan welent y cerbydau,
  A gwrando 'u rhu yn awr,
A garient eu trysorau
  Hyd wyneb daiar lawr.

Dros bantle, a thros fynydd,
  A thros hen Gymru gu,
Y rhedai 'r rhyfedd newydd
  Fel y fellten hoewaf fu;
A miloedd o eneuau,
  Yn awr, mewn llawer lle,
A seinient fyrdd o eiriau
  Am helynt y *railway*.

Ar hyn, pob gradd o ddynion
  Yn llawen iawn a gawd;
Fe wenai 'r boneddigion,
  A gwenai 'r rhai tylawd;
Mewn palas nac mewn bwthyn,
  Na chwaith mewn gwlad na thre',
Ni cheid gan ddyn na phlentyn
  Un gair ond am *railway*.

Yr ydoedd pob masnachwr
  Yn gwisgo gwyneb llon;
A chalon yr hen ffarmwr
  Ddychlamai dan ei fron,
Pan glywent swn olwynion—
  Olwynion y *railway*—
A phawb ro'ent floedd o'u calon—
  "Hip, hip, a hip, hwrê!"

Pa le mae 'r ysgrifenydd
  Rhagoraf dan y nef,
A pha le mae y prydydd
  Sy 'n meddu awen gref,
All dd'weyd am y daioni
  Ga Cymru, ar bob pryd,
Drwy reilffyrdd welir ynddi
  O hyn hyd ddiwedd byd?

Un peth wy'n fawr ddymuno
  I'm hanwyl wlad, yn wir;
Ac yr wyf yn gobeithio
  Y câ 'r peth hwn cyn hir;
Sef na b'o rhan o honi,
  Dan d'w'niad haul y ne',
Na byddo 'n cael ei weini
  Gan y forwyn fwyn—*railway*.

Wrth im' derfynu weithian
  Fy nghaniad wael ddi-lun,
'D oes genyf mwy ond dadgan
  Fy 'wyllys wrth bob dyn;—
Sef na foed yn mhlith dynion,
  Un dyn mewn gwlad na thre',
Na fyddo 'n cael cysuron
  Helaethion y *railway*.    1856.

---

## FFORDD HAIARN DYFFRYN CLWYD.

Adfywia, fy Awen, yn llawen er lles,
Can's testyn, 'r wy'n tystio, diguro a ges;
A chroesaw yn union i'th galon a ga,
Can's hoffi bob testyn i ddyn sydd yn dda.

Ein Dyffryn ardderchog sy'n enwog ei nod,
Fel y llanerch prydferthaf, man puraf, mewn bod;
Ar ei goreu bu natur yn brysur ryw bryd,
Yn ei wneuthur yn gampwaith rhagorwaith i gyd.

Ond hithau, celfyddyd, yn ddiwyd a ddaw,
A hynod fydd hanes y lles geir o'i llaw;
A hi rydd i'n Dyffryn, yn sydyn, hardd swyn
Na bu yn ei feddu un awr, er mor fwyn.

Ac er mor ragorol mwyneiddiol yn awr,
Yw 'n Dyffryn iach, peraidd, anwylaidd ei wawr;
Er hyny, mwy hynod ryw ddiwrnod fydd ê,
Pan geir y ddefnyddiawl hwylusawl *railway*.

'R oedd hen fynyddoedd Cymru
  Mewn cyffro 'r ennyd hon;
Wrth iddynt bruddaidd syllu,
  Hwy grynent oll o'r bron,
Pan welent y cerbydau,
  A gwrando 'u rhu yn awr,
A garient eu trysorau
  Hyd wyneb daiar lawr.

Dros bantle, a thros fynydd,
  A thros hen Gymru gu,
Y rhedai 'r rhyfedd newydd
  Fel y fellten hoewaf fu;
A miloedd o eneuau,
  Yn awr, mewn llawer lle,
A seinient fyrdd o eiriau
  Am helynt y *railway.*

Ar hyn, pob gradd o ddynion
  Yn llawen iawn a gawd;
Fe wenai 'r boneddigion,
  A gwenai 'r rhai tylawd;
Mewn palas nac mewn bwthyn,
  Na chwaith mewn gwlad na thre',
Ni cheid gan ddyn na phlentyn
  Un gair ond am *railway.*

Yr ydoedd pob masnachwr
  Yn gwisgo gwyneb llon;
A chalon yr hen ffarmwr
  Ddychlamai dan ei fron,
Pan glywent swn olwynion—
  Olwynion y *railway*—
A phawb ro'ent floedd o'u calon—
  "Hip, hip, a hip, hwrê!"

Pa le mae 'r ysgrifenydd
  Rhagoraf dan y nef,
A pha le mae y prydydd
  Sy 'n meddu awen gref,
All dd'weyd am y daioni
  Ga Cymru, ar bob pryd,
Drwy reilffyrdd welir ynddi
  O hyn hyd ddiwedd byd?

Un peth wy'n fawr ddymuno
  I'm hanwyl wlad, yn wir;
Ac yr wyf yn gobeithio
  Y câ 'r peth hwn cyn hir;
Sef na b'o rhan o honi,
  Dan d'w'niad haul y ne',
Na byddo 'n cael ei weini
  Gan y forwyn fwyn—*railway*.

Wrth im' derfynu weithian
  Fy nghaniad wael ddi-lun,
'D oes genyf mwy ond dadgan
  Fy 'wyllys wrth bob dyn;—
Sef na foed yn mhlith dynion,
  Un dyn mewn gwlad na thre',
Na fyddo 'n cael cysuron
  Helaethion y *railway*. 1856.

---

## FFORDD HAIARN DYFFRYN CLWYD.

Adfywia, fy Awen, yn llawen er lles,
Can's testyn, 'r wy'n tystio, diguro a ges;
A chroesaw yn union i'th galon a ga,
Can's hoffi bob testyn i ddyn sydd yn dda.

Ein Dyffryn ardderchog sy'n enwog ei nod,
Fel y llanerch prydferthaf, man puraf, mewn bod;
Ar ei goreu bu natur yn brysur ryw bryd,
Yn ei wneuthur yn gampwaith rhagorwaith i gyd.

Ond hithau, celfyddyd, yn ddiwyd a ddaw,
A hynod fydd hanes y lles geir o'i llaw;
A hi rydd i'n Dyffryn, yn sydyn, hardd swyn
Na bu yn ei feddu un awr, er mor fwyn.

Ac er mor ragorol mwyneiddiol yn awr,
Yw 'n Dyffryn iach, peraidd, anwylaidd ei wawr;
Er hyny, mwy hynod ryw ddiwrnod fydd ê,
Pan geir y ddefnyddiawl hwylusawl *railway*.

A phan ddaw y cadarn farch haiarn yn hy',
Fe ddaw gyda ffwyniant a llwyddiant i'r llu:
Bydd pobl tref Dinbych yn llonwych eu llef,
Pan welant e'n teithio, gan drystio, i'r dref.

Bydd enwog dref Dinbych â'i llewyrch yn llon—
Gwell tref i blant Gomer o'r hanner fydd hon;
Ei masnach ä 'n gryfach a gwychach ei gwawr,
A'i masnachwyr i gyd yn llawn bywyd bob awr.

Ac fe ddaw dyeithriaid yn haid iddi hi—
Ein Dyffryn a hoffant, hwy froliant ei fri;
A gorchwyl mwy hyglod wna 'r hynod wŷr hael—
Hwy wariant eu harian, mor fwynlan y fael.

I Rhyl i ymdrochi, mor wisgi yr awn—
Ein cario mewn eiliad gan genad a gawn;
Gwneir dyn wrth ymdrochi yn heini' a hardd,
Ac fe wneir yn llawen bêr awen y bardd.

Am roddi o'i eiddo er llunio ein llwydd,
I wladwr Galltfaenan, rho'er weithian yn rhwydd
Ein parch oll yn unfryd—hir fywyd gaed ef,
A thrwy ei oes bydded dan nodded y nef.

Ac hefyd i'w briod—un hynod yw hon!—
Hir oes i'r angyles i wneyd lles yn llon;
I roi i'r tlodion ei rhoddion yn rhad,
A Thad pob daioni foed iddi yn dad. 1857.

---

## "Y GWIR YN ERBYN Y BYD."

I wledydd pellenig, byth mwyach na theithiwch,
I weled barbariaeth yn ngrym ei anferthwch!
Fe'i cewch yn nes adref—yn Mhrydain rinweddol,
Ac hefyd yn Nghymru—y dalaeth grefyddol!

Pa beth yw 'r nod uchel sy'n nerthol gynhyrfu
Y bywiog dyrfaoedd wy'n wel'd yn ymgasglu?

Ai dyfod y maent yn finteioedd afrifawl,
I wrandaw ar eiriau y bywyd tragwyddawl?

Na! nid peth fel yna yw 'r amcan, ysywaeth!
Ond rhywbeth tebycach i foddio eu harchwaeth;
Rhyw beth nad oes ynddo ond tuedd yn unig
I borthi gwanc dirfawr y galon lygredig.

Mae 'ch gwisgoedd yn "rhwbel," a'ch crwyn yn dra
gwlybion,
Am ba beth y telwch mor ddrud, O ynfydion!
Ai am gael gwel'd menyw yn symmud tywarchen?
Nid rhyfedd fod digder ar wyneb yr wybren.

Wrth wel'd eich ymddygiad rhyfeddol o'r ynfyd,
Yr huan a guddia ei ddysglaer wynebpryd;
Yn ddibaid a gwgus mae 'r gwlaw yn hyf ddisgyn,
I ddangos fod Brenin y nef yn eich erbyn.

Ac am y gwlaw yma sy'n dyfod yn gerydd,
Un awr ni phrophwydodd y craff hinfesurydd;
Yn groes i drefn natur disgyna yn wyrthiol,
Yn genad o'r nef i rybuddio 'r annuwiol.

Mae 'n nos—ond mae 'r nefoedd yn gwgu bob ennyd,
Mae hedd a thawelwch yn ffoi am eu bywyd;
Ow! beth yw 'r udiadau ofnadwy sy'n esgyn
I'r nefoedd, gan wanu fy mynwes â dychryn?

Ar hyd yr heolydd adseinia rhegfeuon,
A nadau dychrynllyd o enau y meddwon
A faeddant eu gilydd un wedd a bwystfilod—
Mae Satan yn gwenu, er maint yw ei drallod.

Mor fawr ydyw pechod y galon lygredig!
Rhyw fôr na wneir plymio 'i ddyfnderoedd cuddiedig:
Raid cael ond tywarchen a benyw rinweddol
I wneyd llu o ddynion yn ddiafliaid uffernol.

1857.

## GWILYM A MARI.

(EFELYCHIAD.)

Fy Ngwilym oedd fywiog fel adar y borau,
  A llawn oedd ei lygaid o hoffder a serch;
Gwroldeb ei galon wnai ladd fy holl ofnau,
  Ei gariad wnai 'm lloni mewn tywydd du erch.

Fe rodiai y meusydd yn llawen a heini',
  A ch'lanmai yr oeddym i briodi heb aeth;
Ond milwyr gorgreulawn ysbeilient ei Fari—
  Mor echrys y dydd y dygasant e'n gaeth!

All Gwilym gael cysur mewn trefydd yn fflamio,
  Wrth ymdaith trwy waed yn y rhyfel erch du?
Ei gysur oedd adref, a'i nerth i lafurio,
  A buaswn i iddo yn briod fwyn gu.

Och! pan fydd y gwyntoedd yn rhuo 'n erwinol,
  A'r tonau 'n ymgodi yn erchyll eu stwr,
O! fel bydd gwyryfon yn wylo 'n dosturiol,
  Sy ganddynt gariadau pryd hyn ar y dwr.

Fy nghariad sy'n filwr, bob ennyd yn crwydro
  Hyd wledydd pellenig mewn ofnau diri',
Ac hwyrach mai 'r awrhon mae 'n caffael ei glwyfo—
  Mae 'n rhy bell oddi wrthyf, ni chlywaf ei gri.

A phwy ond rhyw filwyr dideimlad wnant weini
  Pan fydd ef yn angeu, a'i olwg yn syn;
Mae 'm dagrau yn llifo, a'm calon ar dori,
  Wrth feddwl fod Gwilym yn marw fel hyn.

Ond hwyrach daw heddwch—caiff yntau 'i waredu,
  Pan roddir terfyniad i'r gwaith erchyll ffol;
Ac O! fe gaf finnau fy ngweled pryd hyny
  Yn briod fwyn gu, pan ddaw 'nghariad yn ol.

1854.

## Y FENYW DDALL.

Yn nghanol blodau safai 'n syn,
Ryw hyfryd ddydd;
Llawenydd wenai ar bob peth,
Ond ei theg rudd;
A'm calon innau oedd ger bron,
Yn hollol brudd.

Yn ngolau dysglaer haul y nef,
Mor hardd yw 'r rhos;
Ac O! mor fywiog ac mor lân,
Yw anian dlos;
Er gwawl a bri, 'd oes iddi *hi*
Ond bythol nos.

Pa ham y sathr dan ei throed
Flodeuyn dardd?
A pham y mae mor greulawn wrth
Y rhosyn hardd?
Am na wel un o'r swynion sydd
Yn boddio 'r bardd!

Ond er fod cyfrol helaeth deg
Hen anian fawr
Yn llyfr seliedig iddi hi,
Bob ennyd awr,
Fel na wel un o'i geinion pur,
Tra 'n rhodio 'r llawr:—

Ond y mae llyfr sy ganmil gwell
Yn meddiant hon;
A gwrandaw ar ei ddarllen bydd,
Bob awr o'r bron
Ac wrth wneyd hyny, llamu wna
Ei chalon lon.

Can's dwedyd wrthi a wna 'r llyfr
Am wlad y sydd
Yn llawn o wawl, heb ynddi neb
Yn ddall na phrudd,
A gwybod mae ca *wel'd* y wlad,
Ryw hyfryd ddydd! 1856.

## Y WENYNEN.

Mor ddiwyd mae 'r Wenynen
  I'w gweled drwy y dydd,
Yn casglu mel yn addien
  O'r blodau tyner blydd;
Fe 'i gwelir bob mynydyn,
  Drwy 'r dyddiau hafaidd teg,
Heb ddiogi, 'n hynod ddygyn,
  Yn ceisio cyfoeth chweg.

Ar ol i'r haul tanbeidiol
  O'r dwyrain godi 'n hy',
A rhoddi gwedd adfywiol
  I'r ddaiar oddi fry,
Pryd hyny, bydd i'w gweled,
  Yn heinif ac yn dlos,
Yn gweithio yn ddiniwed,
  Nes delo oriau 'r nos.

Y mae 'r morgrugyn gwiwlan
  Yn dawnsio 'r haf, heb friw;
Yr amser byddo anian
  Yn llawn o degwch gwiw;
Ond buan iawn y trenga,
  Pan ddel y gauaf du,
Ac yna ni adseinia
  Byth mwy ei odlau cu.

Nid felly 'r fwyn wenynen—
  Ond diwyd iawn fe 'i caf
Yn casglu erbyn angen,
  O lawnder mawr yr haf;
A phan ddel dyddiau oerion
  Y gauaf, bydd yn iach;
Ow! Ow! na byddai dynion
  Fel y wenynen fach. 185

## YMGOM RHWNG Y BARDD A SYRTHNI:

*Yn y gwely, y boreu, cyn codi.*

"Syrthni a bair drwmgwsg."—*Solomon.*

BARDD.

Mae cysgodion nos, fu 'n toi
Y ddaiaren, wedi ffoi,
A thywyllwch rydd ei le
I oleuni dan y ne';
Rhaid i minnau fyn'd ar hyn,
Syrthni, o'th afaelion tyn;
Rheswm ddywed wrthwy'n awr,
Gyda difrifoldeb mawr:—
"Risiart, cwyd, mae yn llawn bryd
Iti ado 'th wely clyd."
Rhaid i minnau ufuddhau—
Rhaid, yn wir—ni wiw nacau.

SYRTHNI.

O! paid bod mor ffol a myn'd
Oddi wrthyf fi, fy ffrynd;
Ac ni ddaeth yr awr i ti
Ddianc o fy mynwes i:
Dyma 'r adeg pan mae 'm pryd
Fwyaf anwyl gan y byd—
Dyma 'r adeg oreu i ti
I fwynhau 'm cysuron i;
O! mor esmwyth, yr awr hon,
Ac mor gynhes yw fy mron:
Paid yn awr a'm gadael i—
Aros ennyd gyda mi.

BARDD.

Y mae anian deg ei gwedd
Oll yn gwenu 'n awr mewn hedd;
A'i cherddorion hoff bob un
Ynt yn galw yn gytun
Ac yn anwyl arnaf fi
I wau cân i'm nefol Ri,

I'w gydnabod â gwedd dlôs,
Am fy nghadw drwy y nos:
Maent yn d'wedyd yn eu hiaith,
Pa mor fer yw 'm dynol daith—
Fod fy amser gwerthfawr i
Yn fyngadael fel y lli';
A'u hesamplau, maent, heb goll,
Yn rhoi cynghor imi oll
Beidio colli yr hyn sy
Fwy ei werth na pherlau cu;
Ond iawn dreulio pob rhyw awr
Roddir imi ar y llawr;
Felly, syrthni, rhaid i mi
Fyn'd yn awr oddi wrthyt ti.

SYRTHNI,

Gyfaill anwyl! boed i ti
Wrandaw eto arnaf fi;
Nid yw gwychder anian lân,
Nid yw cerdd yr adar mân,
Ddim yn meddu 'm gallu i
I dy fwyn ddifyru di:
Fe wnaf it' anghofio 'n gu
Bob rhyw boen a blinder du;
A dy arwain wnaf yn gûn
I anneddle dedwydd hûn,
Lle y cei freuddwydio 'n fwyn
Am wrthddrychau mawr eu swyn;
Felly, 'r awrhon, aros di
I fwynhau 'm dedwyddwch i.

BARDD.

Gwir mai esmwyth f'ai i mi
Aros yma gyda thi;
Ond pe hyny 'n awr a wnawn,
O dan ddylanwadau 'th ddawn,
Dewis cysgod ar y mur
Wnawn yn lle y sylwedd pur:
Wrth gael dy ddedwyddwch di,
Gwir ddedwyddwch gollwn i:
Pe bawn yn breuddwydio byth
Am drysorau teg dilyth,

Faint o'm hangen dorid gan
Y trysorau tybiol gwan?
Syrthni! ffarwel rof i ti,
Dim nis gelli wneyd i mi.

SYRTHNI.

Ond, fy nghyfaill, gwel'd 'r wyf fi
Mai am rodio yr wyt ti
Ffordd dyledswydd—yr hon sydd
Lawn o flinder nos a dydd;
Cofia di, fy nghyfaill llon,
Mai ffordd ddreiniog iawn yw hon;
Os ei rhodio wnei, nid oes
It' ond gofid drwy dy oes:
Felly, llawer gwell i ti,
Fyddai aros gyda mi.

BARDD.

Gwir fod ffordd dyledswydd serth
Yn un lawn o rwystrau certh;
Ond os dreiniog ydyw hi,
Arwain mae i fythol fri;
Ar ol cyrhaedd pen y daith,
Pur dangnefedd yw ei hiaith:
Ond pa beth gaf genyt ti—
Ai gwisg garpiog? dyna 'th fri!
Felly, paid a'm blino 'n hwy
A'th resymau gweigion mwy;
Rheswm eilw arnaf fi—
Felly, rhaid dy adael di.

SYRTHNI.

Ond, fy nghyfaill, cymmer bwyll,
A mynegaf it', heb dwyll,
Mai gwell meistr ar bob pryd,
Wyf na rheswm yn y byd;
Ef a fyn dy arwain di
I blith rhwystrau sy'n ddiri';
Paid, fy ffrynd, a bod mor ffol
A myn'd weithian ar ei ol;
Paid! ond aros gyda mi,
Ac esmwythach fydd i ti.

BARDD.

Syrthni, O! 'r rhesymau gau
Wyt yn draethu i barhau;
Beth pe gallet ti yn awr
Roddi im' ryw gysur mawr;
O! mor ddrud y prynwn ef
A dedwyddwch pur y nef!
Pa beth genyt ti a gaf,
Pan o'r ddaiar hon yr âf?
Dwfn euogrwydd i barhau—
Dyna yw dy wobr glau!
Elyn dengar, ceisio 'r wyd
Heddyw 'm hudo i dy rwyd;
Ond 'r wyf am ei gochel hi—
Ffarwel, ffarwel byth i ti!

SYRTHNI.

O! fy nghyfaill anwyl i,
Methu 'n ddirfawr yr wyt ti;
Nid oes ynwyf fi ddim twyll—
Aros ennyd, cymmer bwyll.

BARDD.

Syrthni! ofer fai i mi
Aros mwyach gyda thi,
I resymu ddim yn hwy—
Colli amser wnawn ni mwy;
Hudol elyn ydwyt ti,
Dos yn awr oddi wrthyf fi;
Neu dy hwtio wnaf yn rhwydd,
Gyda dirmyg, o fy ngwydd!

Gorchfygais y gelyn trwy daflu y dillad
Oddi arnaf, a neidio o'r gwely mewn eiliad.

---

## GWYDDFA LLEWELYN.

ANERCHIAD AT BOB CYMRO GWLADGAROL A RHYDDFRYDIG.

TON: "*Scots wha hae.*"

FRYTHON hyf! mor barod gaed
Gynt i roddi 'ch gwerthfawr waed,
Cyn y methrid o dan draed
    Gormes eich iawnderau chwi!

Dowch yn awr, âg unol fryd,
Dowch, a phrofwch i'r holl fyd
Mai 'r un rhai ych chwi o hyd—
    Brython dewrion mawr eu bri.

Dowch 'r ol oedi, dowch yn awr,
Dowch a chodwch wyddfa fawr—
Y wyddfa fwyaf ar y llawr—
    I'n mawr, mawr Lewelyn ni!

Pwy a safodd yn mhob lle
O blaid rhyddid fel efe?
Bloeddiwn, nes dadseinio 'r ne'—
    "Caiff Llewelyn barch a bri!"

Y gresyndod mwyaf yw,
Os oes Cymro heddyw 'n fyw
Nad yw 'n tanio pan y clyw
    Enw ein Llewelyn ni!

Pwy fel ein Llewelyn gaed,
Roes ei fywyd, roes ei waed,
Ac a fathrwyd o dan draed
    Gormes, dros ein rhyddid ni! 1856.

## CROMWELL.

O! Cromwell fawreddog! dy gofiant a fydd
  Gan Ryddid yn fyth-gyssegredig;
Cyfodaist ei baner—ennillaist y dydd
  Ar ormes a thrais melldigedig.

Tydi fyddai 'r blaenaf yn myddin y gad,
  A'r olaf gan rwystrau yn pallu;
Yr oeddit yn flaenaf i wared dy wlad,
  A'r olaf i chwennych mawr allu.

Rhy fuan, hoff wron, y daethost i'r byd,
  I ddryllio cadwynau 'th gyd-ddynion;
Collasant eu rhyddid, a brynwyd mor ddrud—
  Rhoddasant e'n ol i'w gelynion.

Ond eto, hoff arwr anfarwol ei fri,
  Nid ofer a fu'th ymdrechiadau;
Y rhyddid yr awrhon fwynheir genym ni,
  Sy'n ffrwyth dy ddi-ail weithrediadau.

Yn awr, gyda Miltwn,[1] O! huna mewn hedd—
  Cei fawredd a bri mewn cyfiawnder;
Efe gyda'i bin, a thydi gyda 'th gledd,
  Arweiniech fyddinoedd cyfiawnder. 1857.

## MAURICE YW 'R DYN.

Etholwyr swydd Dinbych! fel llewod deffrowch,—
I ymladd dros ryddid, yn wrol ymrowch;
A bloeddiwch, nes caffo y bryniau bob un,
A'r creigiau gyd-ateb mai Maurice yw 'r dyn.

Mae 'n bleidiwr gwir ryddid—am hyn mae ei gais;
Dros ryddid y dyry bob amser ei lais:
Nid rhyddid i enwad, ond pawb, a phob un—
A bloeddiwn yn unol mai Maurice yw 'r dyn.

Mae ef am y tugel [2] hoffusawl y sydd
Yn gwneuthur calonau gormeswyr yn brudd;
Dangoswn ein bod am y tugel bob un,
Trwy dystio 'n ddiarswyd mai Maurice yw 'r dyn.

Mae 'n uchel chwennychu difodi, heb feth,
Y gorthrwm uffernol—y dreisiol erch dreth,
Sy'n difa mwyn heddwch hoff genedl gytûn;
A gwaedda cyfiawnder mai Maurice yw 'r dyn.

Drigolion hoff Dinbych, sy 'n enwog drwy 'r tir
Am ymladd yn eon â'r dreth hon yn hir,

[1] John Milton, y mwyaf o feirdd anysbrydoledig. [2] Ballot.

O! dowch, a boed geiriau a gweithred pob un
Yn tystio 'n dra dilys mai Maurice yw 'r dyn.

Un hysbys yw 'n Maurice, â'i glod yn mhob man,
Fel gelyn i ormes, a chyfaill y gwan;
A phleidia rydd addysg i bawb a phob un,
A phwy na ddyweda mai Maurice yw 'r dyn?

O! deued pob un sydd yn caru ei wlad,
A phawb sydd yn hoffi cael rhyddid yn rhad;
O! deuant yn wrol—yn ol na foed un—
I ddweyd wrth bleidleisio mai Maurice yw 'r dyn.

---

## YMADAWIAD J. R. A RHUTHYN.

Ha! dyma amgylchiad sy'n rhwygo 'n calonau—
  Amgylchiad wna 'n gruddiau yn lleithion eu gwedd;
Gofidus deimladau, 'n ymchwyddawl erch donau,
  Ddwys gurant ein henaid—ddinystriant ein hedd:
Rhoi ffarwel i gyfaill wnaem serchog fynwesu,
  Yn fynych yn orchwyl tra anhawdd a gawd;
Ond pa fodd ffarweliwn âg anwyl was Iesu,
  A fu ini 'n gyfaill, yn dad, ac yn frawd!

I'r praidd y bu ef yn eu tyner fugeilio,
  Mae hwn yn amgylchiad gofidus ac erch;
Am wyth o flyneddoedd bu ef yn eu gwylio,
  Am wyth o flyneddoedd cynnyddodd eu serch;
A pha fodd y rhoddant hwy 'r awrhon ffarweliad!
  Ond unpeth rydd gysur mewn gofid mor fawr—
Sef, gobaith cael aml adfywiol ymweliad
  Gan un y rhaid canu yn iach iddo 'n awr.

Ond ha! ni chyfyngir y pruddaidd deimladau
  I'r praidd y bu iddynt yn fugail mor dda;
Dirwystr y treiddiant drwy 'r oll o'r enwadau—
  Pob calon rinweddol yn awr a bruddhâ:
Pwy fel ein hanwyl J. R. sydd yn llenwi
  Ei gylch yn ei eglwys, ei ardal, a'i wlad?

Pwy y mae 'r lluoedd yn hoffach o'i enwi,
A minnau yn hoffach o'i alw yn dad?

O anwyl weinidog! sy 'n caru llesoli
Ei gyd-ddyn yn fwy na phob mawredd a bri,
Derbyniwch ein hanrheg,[1] i wael gynnrychioli
Ein cariad digymmysg a'n parch atoch chwi;
A hyn fydd ein didwyll a'n gwresog erfyniad—
I chwi, ac i'ch tylwyth, boed bendith y nef,
I'ch dilyn bob amser, nes delo terfyniad
Eich einioes, a dreuliwyd yn llwyr iddo Ef. 1857.

---

## YMADAWIAD Y PARCH. SAMUEL ROBERTS, A. C., LLANBRYNMAIR, A CHYMRU.

Fy ngwlad! fy anwyl wlad! O mor
Alaethus yw ei chri,
Pan y mae ei hanwylaf fab
Ar fyned dros y lli';
O! mor ddrylliedig yw ei bron,
Mor llaith ei gwedd a syn;
Dan bwys ei gofid, clywaf hi 'n
Cwynfanu 'n dost fel hyn:—

"O Samuel! fy anwyl fab—
Fy anwyl Samuel!
O Samuel! fy anwyl fab—
Fy anwyl Samuel!
Nid oes un swyn na welaf yn
Dy enw, Samuel:
Pa fodd rho'f yn ei ymyl air—
Yr enbyd air ffarwel!

Mae llawer o'm lluosog blant
Yn anwyl iawn i mi,
Ond nid oes un o honynt oll
A garaf fel tydi;

[1] Yr anrheg a gyflwynwyd i Mr. Roberts, cyn iddo adael Rhuthyn, gan *drigolion y dref* ac ereill, fel arwydd o'u parch tuag ato.

Ac O ! ni wyddwn i mor fawr
   Oedd serch y fynwes hon
Tuag atat ti, fy anwyl fab,
   Nes daeth yr adeg hon.

Pa ham, fy Samuel, pa ham
   Yr ai di dros y lli'?
Pa ham gadewi 'th anwyl fam,
   I dori ei chalon hi ?
Ow ! hawddach fuasai genyf fod
   Yn dawel a di-sen,
Pe 'th wel'swn di yn myn'd i'r bedd,
   'N ol bwriad Brenin nen.

Fel cenad hedd i'n nefol Dad,
   Llafurus iawn fe 'th gaed ;
Ac O ! mor fwyn a serchog y
   Pregethaist am y gwaed :
Pa Gristion na fai 'n hoffi gwel'd
   Dy addfwyn, addfwyn wedd ?
Can's byddai 'th bresennoldeb hoff
   Yn dwyn i'r galon hedd.

Dysgawdwr mawr fy mhlant, yn wir,
   A fuost ti o hyd ;
Dy anwyl enau di, a'th bin,
   A'u dysgent hwy 'r un pryd ;
Pin ysgrifenydd buan oedd
   Yr eiddot er llesâd ;
Ni safai byth pan allai wneyd
   Daioni i dy wlad.

Fel Samuel yn Israel gynt,
   Diwygiwr dewr fu'st di ;
A sefaist, do, yn wrol iawn,
   O blaid fy rhyddid i ;
Ni buost yn anffyddlawn im';
   O ! naddo, am un awr ;
Pob trais a gorthrwm, yn ddi-ofn,
   Wynebaist ti fel cawr.

Yn groes i'r lluaws, aethost di,
   A'th rymus, danllyd ddawn,
'R ol barnu 'n gydwybodol fod
   Y lluaws ddim yn iawn ;

A sefaist o blaid heddwch, er
  Pob dirmyg, gwawd, a chri ;—
Ni byddai 'r byd ond nef pe bai
  Ei deulu fel tydi.

Ceir aml un o'm hanwyl blant
  Yn fardd o fythol fri,
Ond nid oes un o honynt gân
  Mor felus a thydi ;
Bydd dy *Ganiadau* hoff yn troi
  Y galon graig yn llyn,
A phwy all ddweyd yr hyn a wnaeth
  Y per *Ganiadau* hyn ?

Drwy 'r *Cronicl*, mor ddiwyd gwnest
  Fy ngwasanaethu i ;
A pha ryw ddirfawr lu o'm plant
  A ddysgwyd genyt ti
Yn egwyddorion rhyddid, a
  Chyfiawnder glân a phur ;
A thros yr egwyddorion hyn
  Y sefaist fel y dur.

Yr wyt yn addfwyn, fel dy dad—
  Yn wrol megys llew ;
Un tyner, gostyngedig wyt,
  Un grymus iawn a glew ;
Byth un anwylach na thydi,
  Yn eglwys Dduw ni chawn ;
Nac un mwy cadarn ar y maes,
  Wrth ymladd brwydr *Iawn*.

Ond Ow ! pa fodd gollynga'i 'th law,
  Fy anwyl Samuel !
Rhyw ddirfawr boen i'm calon ddaw,
  Wrth imi ddweyd ffarwel :
Ein Duw fo gyda thi, fy mab—
  Ond Ow ! pa beth wnaf fi,
Nes dygo 'r *Cronicl* i'th fam
  Ryw air oddi wrthyt ti ?" 1857.

## EVAN PIERCE, Ysw., M.D., DINBYCH.

Gwrandewch yn awr! luosog deulu cystudd,
Sy 'n byw heb hedd wrth ddyoddef poenau mawrion—
Er i chwi golli iechyd a llawenydd,
A threulio 'ch dyddiau 'n ddyeithr i gysuron,
Dowch at ein Pierce, a derfydd eich cwynfanau,
Fe esmwythâ ar fyrder eich holl boenau.

Fe ddeall ef pa beth sydd yn eich blino,
A thry eich cri a'ch cwynfan yn llawenydd:
Gan *Esculapius* cafodd ei ordeinio
I fod yn fendith i blant poen a chystudd;
Gan hyny, gwna i'r hwn sydd yn galaru
Dan boenau dwys yn fuan i grechwenu.

Mae llawer meddyg yn ein gwlad ragorol,
Heb feddu serch na theimlad yn ei galon;
Ei amcan ef bob ennyd yn wastadol
Yw llenwi ei gôd âg aur y truenusion;
Ond Ah! nid felly 'n gwladwr mawr ei ddoniau—
Mae ef yn enwog am ei elusenau!

Nid oes un poen yn blino meibion dynion,
Nac un afiechyd yn y byd un amser,
Na ŵyr ein Galen enwog am y moddion
A'i gŷr i ffoi, er cymmaint ei lymdoster;
A thyna pam y mae efe 'n wastadol
Yn trigo 'n serch pob mynwes hoff ddyngarol.

Ond gwir fod ganddo yntau ei elynion,
Y rhai sydd yn dibrisio ei rinweddau,
Ac a edrychant ar ei holl ragorion
Yn genfigenus odiaeth eu meddyliau;
Ond pa le gwelwyd rhinwedd yn blaguro,
Na cheid cenfigen am ei lwyr ddinystrio?

Ond clywch! beth dd'wedir gan y rhai fu 'n gleifion,
Ond a iachawyd gan y gŵr rhagorawl:—
"Hir oes, hir oes i'n gwladwr mwyn a ffyddlon,
A bendith nef i'w ddilyn yn wastadawl—
Cywilydd fyddo rhan ei holl elynion;
Ond iddo ef, llawenydd fyddo 'i goron."

Ac felly, gyda hwy, dywedaf finnau—
  Boed iddo einioes faith yn llawn dedwyddwch ;
Ac uwch, ac uwch, dysgleiried ei rinweddau,
  Wrth symmud ymaith bob ryw boen a thristwch ;
Ei uchel glod a draethir gan ddynolion,
Er gwaethaf ffyliaid a phob crach feddygon. 1854.

## BACCHUS.

Bacchus ! Bacchus felldigedig !
  Pa sawl myrdd a gwympaist ti
Wrth dy draed yn archolledig ?
  Mae 'th laddedigion yn ddiri' !
Pa sawl cysur a ddyfethaist,
  Gan ei ddifodoli 'n llwyr ?
Pa sawl calon dyner lethaist
  A gofidiau ?—pwy a ŵyr ?

Pa sawl miloedd o drigfanau,
  Lle 'r oedd heddwch yn parhau,
Lenwaist ti â thrist riddfanau
  Darddent o annhraethol wae ?
Pe 'r amcanai un at enwi
  'R filfed ran o'th ddrygau di,
Cyn gwneyd hyny, gallai lenwi
  Holl gyfrolau 'n daiar ni.

Nid yn unig 'r wyt yn gyru
  Pob rhyw gysur hwnt o'r fron ;
Nid yn unig gwnei bentyru
  A phob gwae y galon lon ;
Nid yn unig 'r wyt yn gallu
  Lladd y corff yn erch bob pryd,
Ond ni byddi byth yn pallu
  Erchyll ladd yr enaid drud.

Echrys waith a wna bod dynol,
  Pan yr ä mor ddrwg ei lun—

Pan yr ä mor llwyr annynol
A llofruddio ei gyd-ddyn ;
Ond nis gall y llofrudd pena',
Ond anfon enaid dyn o'r byd—
Ond anfon enaid i Gehenna,
Wrth ladd dyn, wnei di bob pryd !

Myrdd myrddiynau, yn ddiammheu,
O dy ddeiliaid sy'r awr hon
Yn dolefain yn y fflamau,
Y pryf a'r tân yn ysu 'r fron !
Ond yn nyfnder colledigaeth,
Nid oes ymwared yr un pryd ;
Ond, diolch byth ! mae gwaredigaeth
I bawb oll o deulu 'r byd.

Draw, draw, mi ganfyddaf ryw fenyw deg, lon,
A gwrid ar ei gruddiau, a hedd dan ei bron ;
Wrth weled ei gwyneb, mae Bacchus ger llaw,
Yn ffoi am ei fywyd mewn arswyd a braw.

Pwy bynag rydd groesaw i'r fenyw deg wawr,
Er bod yn nghadwynau 'r hyll Facchus yn awr,
Gaiff sydyn ddiangfa o'i afael yn llon,
A chaiff wrid ar ei ruddiau, a hedd dan ei fron.

A phan ddaw trigolion y ddaiar i gyd
I roddi croesawiad i'r fenyw yn nghyd,
A Bacchus felldigaid ar unwaith i'w fedd,
A byth ni chaiff undyn ail weled ei wedd.

O ! gwnawn oll ein goreu, tra yma is nen,
I ddod â'r fath adeg hyfrydol i ben ;
Pwy bynag i roddi cynnorthwy a ddaw,
Ni chyll ê mo'i wobr ryw ddydd sy ger llaw.

---

## GOFIDIAU BYWYD.

Nid oes yn y byd ond profedigaethau—
Rhyw flinder o hyd, ac aml ofidiau;

Rhyw fôr gygus yw, sy'n erchyll ymchwyddo,
A holl ddynolryw a deimlant ei gyffro.
Os heddyw y cawn ychydig gysuron,
Bydd fory yn llawn o bob rhyw helbulon;
Ond rhyfedd yw hyn—calonau plant dynion
A rwymwyd yn dỳn wrth y byd a'i ofalon!
O Iôn! tyn fy mryd oddi wrth bethau gwael daiar,
I syllu o hyd ar bethau mwy hawddgar;
I gofio bob awr, wrth dy wasanaethu,
Tra yma ar y llawr, am ddedwydd hoff deulu
Sy 'n awr yn y nef yn chware 'u telynau,
Yn llafar eu llef, yn uchel eu breintiau;
Hiraethu y b'wy' am gaffael eu cwmni,
A'th foli byth mwy yn ngwlad y goleuni.

*Ionawr*, 1853.

## Y BYD.

Lle hyfryd ydyw 'r byd:
O! 'r olwg brydferth arno gaf,
Yn awr yn ngwisgoedd goreu haf:—
Llawenydd sydd yn dawnsio 'n swyn
Cerddoriaeth odiaeth côr y llwyn;
Pob peth a wisga hyfryd wawr,
O'r blodyn bach i'r mynydd mawr;
Holl wyneb daiar sy fel gardd!
A phwy na ddywed gyda 'r bardd—
Lle hyfryd ydyw 'r byd!

Lle pruddaidd ydyw 'r byd:—
Lle llawn o alar ac o wg,
Lle llawn trueni, llawn o ddrwg;
Lle a gochliwiwyd gyda gwaed!
O! 'r erchyllderau ynddo wnaed!
Pa beth yw 'r cwynfan sy'n mhob man?
Y cadarn sydd yn baeddu 'r gwan!
Ow! dyma 'r gwir—wrth fod yn nglŷn
A melldigedig ddieflig ddyn—
Lle pruddaidd ydyw 'r byd!

*Mehefin*, 1857.

# ANERCHIAD

I fy serchog gyfaill, Mr. D. Williams, Coal merchant, Liverpool.

GWRANDEWCH arnaf, Dafydd, fy nghyfaill mynwesol,
Sy'n hoffi barddoniaeth a phob peth rhagorol ;
'R wy'n awr yn dymuno eich anerch am unwaith,
Drwy son am yr amser sydd wedi myn'd ymaith ;
Mor ddifyr y treuliem ein dyddiau boreuol,
Pan deithiem yn llon gyda 'n gilydd i'r ysgol ;
Nid oedd, y pryd hyny, y byd a'i ofalon
Yn oeri 'n mynwesau, yn lladd ein cysuron ;
Ond chwareu y byddem yn llon gyda 'n gilydd,
Heb neb yn fwy siriol na Risiart a Dafydd :
A phan yn yr ysgol, mor hoffus, yn ddiau,
Y treuliem bob ennyd drwy ddysgu am y gorau ;
A phan byddai 'n meistr dysgedig yn traethu
Rhyw chwedl ddifyrus er mwyn ein dyddanu,
Neu pan fyddai 'n son am ryw droion go hynod
Oedd ef wedi eu gweled tra 'n rhodio 'r byd isod,
Mor ddyfal gwnaem wrandaw 'i chwedleuon difyrus,
Heb wybod beth ydoedd un teimlad galarus :
Pryd hyny, bob ennyd, yr oedd ein meddyliau
Yn llawn o freuddwydion a hoffus gynlluniau ;
Addawem caem feddu dedwyddwch digymhar,
A phob rhyw hyfrydwch tra 'n rhodio y ddaiar ;
Ond eto, nid oedd y dedwyddwch dych'mygol
Ond cysgod yn cilio, neu gwmwl diflanol !
O! hynod mor fuan mae amser yn tramwy—
Heb oedi un ennyd, fe ddaeth i'n gwahanu :
Diflanodd ar unwaith ein dyddiau boreuol—
Nis gallwn eu galw hwy 'n ol yn dragwyddol ;
Fel tarth aethant ymaith, a'r awrhon nid ydynt—
Nis gwelwn byth mwyach un eiliad o honynt ;
Er hyny, 'r wy'n teimlo hyfrydwch wrth gofio
A son am yr amser sydd wedi myn'd heibio.
Yr Arglwydd fo 'n gymhorth bob awr yn feunyddiol,
I fyw yn ei gariad a'i ofni 'n wastadol ;
I ochel pob hudol ond blin demtasiynau,
A byw yn rhinweddol hyd ddiwedd ein dyddiau.

## LLINELLAU

I anerch fy mrawd, yr hwn sydd yn Nhalaeth Wisconsin, Gogledd America.

Fy mrawd anwylaf, John,
Mae hiraeth dan fy mron
Am danat ti;
A gaf fi wel'd dy wedd
Cyn myn'd i lawr i'r bedd?
Hyn fyddai 'n felus wledd
I'm calon i.

Pan fyddwy 'n cofio 'r pryd,
Pan trigo wnaem yn nghyd
Yn fwyn a llon,
Gan dreulio pob rhyw ddydd
Heb deimlo byth yn brudd—
Hyfrydwch imi fydd,
Yr ennyd hon.

Ond pan y daw i'm co'
Dy fod mor bell o'n bro,
Mewn estron wlad;
Fe red y dagrau 'n lli'
Ar hyd fy ngruddiau i,
Wrth gofio am danat ti,
Frawd serchog, mad.

Ond fe ddaw cysur cu,
Pan drof fy ngolwg fry,
I'r nefoedd draw;
A chofio am fy Nuw,
Sy'n llywio dynolryw,
A phob creadur byw,
A'i nerthol law.

Llawenydd sydd i'm bron,
Pan fyddwy'n cofio 'n llon
Duw cadarn nef;
Yn Nghymru deg ei gwawr,
Anwylaf ar y llawr,
Ac yn Amerig fawr,
Yr un yw Ef.

Ei nodded ar bob pryd
A gaffoch yn y byd,
　　Frawd anwyl iawn !
Nes myned yn ei law
I'r nefoedd ddysglaer draw,
I fyw heb boen na braw,
　　Mewn cariad llawn.

*Ebrill*, 1854.

---

## CYFARCHIAD

I fy nghefnder, Mr. J. R. Foulkes, Llechryd, Llannefydd, ar ei adferiad i iechyd, wedi iddo fod yn glaf.

Mae achos mawr i lawenhau,
　Fy nghefnder mwyn a llon,
A rhoddi cywir foliant clau
　I Dduw yr ennyd hon.

Er bod yn ngafael cystudd mawr,
　Bron soddi yn y lli',
Yr Arglwydd fu 'n drugarog iawn,
　A thirion wrthych chwi.

Pan oedd cysuron byd yn ffoi
　O'ch gwyddfod oll i gyd
Efe a'ch cofiodd chwi, gan roi
　Cysuron ar y pryd.

Er rhodio glanau tywyll wawr
　Hen gysgod angeu du,
Efe a wenodd bob rhyw awr,
　Yn dirion oddi fry.

Ac er i angeu beri braw,
　Drwy roddi dyrnod llym,
Yr Iôn a'ch dygodd yn ei law
　O allu 'r bedd a'i rym.

Ein Duw a gospa blentyn mad,
　I'w ddwyn yn nes i'r nef;

Y sawl a gerir gan y Tad,
Geryddir ganddo ef.

Yr Hwn a'ch dygodd oddi tan
Holl faich eich cystudd mawr,
Boed i chwi dreulio 'ch oes, bob rhan,
I'w foli ef bob awr. 1854.

---

## MARI.

A DDEUI di gyda mi, Mari,
I weled y lili lân,
A gwrandaw yn llon mewn bri, Mari,
Ganiadau yr adar mân;
Fel ti, mae 'r lili yn fwyn, Mari,
A'r adar sy 'n canu fel ti;
A phobpeth sy 'n llawn o swyn, Mari,
Yn aros am danom ni.

Cyd-ddringwn y Fama draw, Mari,
Yn heinif a bywiog iawn;
A gadael pob gofid is law, Mari,
Wrth ddringo i'w chopa wnawn;
Cawn wledda ar Anian chweg, Mari,
Yn mhell oddi wrth ddynion ffol;
Ac O! ni gawn destyn teg, Mari,
I ymgomio 'r ol dod yn ol. 1857.

---

## Y CWPL DEDWYDD.

Mor hoff yw gweled dau yn tynu 'n nghyd,
O dan yr iau briodasol ar bob pryd;
Heb un o honynt byth yn tynu 'n groes
I gamrau undeb hoff, gan beri loes

I'w gymhar anwyl—ond y ddau o hyd
Yn cydfwynhau dedwyddwch yn y byd:
Pob un yn caru ei anwylyd cun
Yn llawer gwell na'i enaid ef ei hun.
Yr eiddew ystwyth—fel y gwelir ef
Yn gydiol gyda 'r dderwen uchel gref;
Ac fel yn un cyd-drigant bob rhyw awr,
Er gwyntoedd cryfion, ac er stormydd mawr:
'R un modd mae 'r deuddyn hyn i'w cael o hyd—
Gan rwymau cariad, unwyd hwy yn nghyd;
A'r hyn a fydd ewyllys un, ni all
Ddim llai na bod yn gyfraith gan y llall:
Hwy dawel wenant yn y stormydd blin—
Tra nerthol ydyw dau wrth fod yn un.
O hoffus bâr! mor ddedwydd ydynt hwy
Yn treulio 'u dyddiau heb un poen na chlwy';
Gan deithio law-law tua 'r nefoedd wen,
Lle cânt gyfarfod gyda Christ eu Pen:
Yr Iôn a wena arnynt tra 'n y byd,
Gan eu bendithio 'n helaeth iawn o hyd;
Ac yna, cymmer hwynt i'r nefoedd fry,
I fyw mewn gwynfyd a phob mwyniant cu;
Ac uno gydag engyl glân a glwys,
I seinio 'r anthem o dragwyddol bwys,
I'r "Hwn a'u carodd ac a'u golchodd" hwy,
Heb ddiwedd ar y gân byth bythol mwy. 1853.

---

## PENNILLION

I Mr. J. Simon, Dinbych, am anrhegu yr awdwr â Phryddest Iorwerth Glan Aled ar *Anfarwoldeb.*

Wel! dyma anrheg llawn rhagoroldeb,
Un werthfawr iawn a hardd;
Pryddest anfarwol ar "Anfarwoldeb,"
O waith anfarwol fardd.

Fe ddaeth i'm dwylaw heb un dysgwyliad
Am dani yn y fron,

Am hyny yr aethym i mewn eiliad,
  Yn ddedwydd ac yn llon.

Mae llawer o bobl ar y ddaiar,
  I'w canfod yma a thraw,
A fyddant i chwi 'n gyfeillion hawddgar,
  Ond ni chewch ddim o'u llaw.

Fe gewch ddigon o ffugiol wenau
  Ganddynt hwy heb ri';
A chwi gewch farw wrth eu drysau,
  Cyn y rhoddant ddim i chwi.

Ond mor wahanol i'r tylwyth yma
  Ych chwi, O Simon fwyn!
Yn hynod eglur imi dangosa
  Eich anrheg lawn o swyn.

Canfyddaf ryw ryfeddodau filoedd,
  Wrth droi 'r dalenau 'n awr,
Ac yr wyf yn cofio pwy a'm harweiniodd
  I'r arddangosfa fawr.

Wel, diolch i chwi, O gyfaill serchog!
  Diolch yn fawr i chwi,
Am roddi anrheg mor ardderchog
  A'r bryddest hon i mi. 1856.

---

## DIOLCHGARWCH

I Mr. T. Roberts, Llechryd, Llannefydd, am iddo anrhegu yr Awdwr â Llyfr Hymnau—casgliad y Parch. J. R. Jones, Ramoth.

Anwyl gyfaill, 'r wyf yn anfon
  I chwi 'm diolchgarwch llawn,
Am eich anrheg werthfawr imi—
  Ië 'ch anrheg werthfawr iawn;
Anrheg sydd yn cynnwys perlau—
  Perlau gwell nag eiddo 'r byd;
Perlau bythol sydd yn gallu
  Cyfoethogi 'r enaid drud.

Pan yn darllen yr emynau,
  Cynt na'r fellten hoewaf fu
Y dychlama fy meddyliau
  Tua Ramoth—cartref cu
Yr hen seraph ddoniau helaeth,
  A gyssegrodd ddyddiau 'i oes
I gyhoeddi 'n hyawdl odiaeth
  Egwyddorion mawr y groes.

Bob tro pan bwy'n cael fy lloni
  Gan y gyfrol brydferth hon,
A fy nghalon yn ymgodi,
  Ac heb boen yn llamu 'n llon :—
Yna daw i'm cof ar unwaith
  Enw byth fydd lawn o swyn—
Enw 'r cyfaill gwirioneddol
  A'm hanrhegodd i mor fwyn. 1857.

---

## LLINELLAU

A gyfansoddwyd ar ddymuniad Mr. J. Williams, Plas isaf, i ddiolch i Mr. J. D. Jones, C. M., Rhuthyn, awdwr *Y Cerub*, *Cydymaith y Cerddor*, *Dammegion Esop*, &c., am gyfansoddi tôn iddo ar garol o eiddo yr Awdwr.

JONES serchog, ardderchog ei ddawn,
  Fel athraw i lawn ddirfawr lu ;[1]
Jones lawen fedd Awen fwyn iawn—
  Ond Jones gyfansoddwr y sy ;
A'i enw mor loew, mor lân
  A'r ser sydd yn uchder y nef ;
Truenus, angenus yw 'nghân
  Ar destyn fel hyn—ei fawl ef.

Drwy 'n brodir, fe glywir mwyn glod
  Y cerddor tra hynod ei hawl ;
O enau nid degau mae 'n d'od—
  Ond cannoedd a miloedd a'i mawl ;
Ond llon ddiolchgarwch tra llawn,
  A dalaf, a ganaf yn gu

[1] Athraw Ysgol Frytanaidd Rhuthyn.

Yr awrhon, am dôn hynod iawn
  A wnaethoch ar waith Risiart Ddu.

Ei nodau, yn ddiau, wnânt ddwyn
  Yn ddibaid i'n henaid fwyn hedd;
Mae pob rhai o'i seiniau 'n llawn swyn—
  O! 'r ceinion gwir fwynion a fedd:
Y Bardd Du, yn haeru cawn o,
  Wrth wrandaw y dôn lawn o dân:—
"Nid hon'a yw fy ngharol fach,
  Myrdd tlysach amgenach yw 'r gân!"

1857.

## CYFFES Y MYFYRIWR YN EI FYFYRGELL.

A! LLAWER awr a dreuliais i
  Yn y fan hon,
O herwydd fod y gair bach "*bri*"
  Yn tanio 'm bron:
Mewn brwydr galed, lawer gwaith,
Y bûm â chwsg drwy noson faith,
Gan rwyfo 'n mlaen drwy 'm dyrys daith,
  Er pob rhyw don.

Pan guddiai 'r nos, â'i mantell hell,
  Ein daiar ni;
A phawb yn huno mewn rhyw gell,
  Heblaw myfi;
Drwy oriau meithion a di-hedd,
Y chwiliwn i, yn wael fy ngwedd,
Wrth egwan oleu 'r lamp, am sedd
  Tragwyddol fri.

Er colli 'r gwrid oedd ar fy ngrudd—
  Er colli 'm nerth;
Ac er cyfarfod bob rhyw ddydd
  A rhwystrau certh—
Er hyny, 'mlaen o hyd yr awn,
Drwy bob rhyw anhawsderau gawn;
Er bri, parhau i ddringo wnawn
  Y llwybr serth.

O'r diwedd, fe gyrhaeddais i
  Fy uchel nod ;
Derbyniaf holl drysorau bri
  Mewn parch a chlod :
Ac wedi cael fy anwyl fri,
Drwy anhawsderau maith diri',
Hawdd credu y gallaswn i
  Yn ddedwydd fod.

Ond mai nid felly yr wyf fi,
  Da gŵyr fy mron ;
Nid oes, er bod yn mhalas bri,
  Ddim hedd yn hon ;
Er cael yr hyn oedd imi 'n nod,
Er cael anrhydedd mawr a chlod—
Er hŷn i gyd, nis gallaf fod
  Un awr yn llon.

---

## Y MYFYRIWR A'R BUGAIL.

MYFYRIWR.

'R OL bod yn chwilio 'r byd
  Am wir ddedwyddwch,
A methu cael un pryd
  Ond gwae a thristwch,
'R wy'n dyfod yr awr hon,
Yn bruddaidd iawn fy mron,
I holi 'n ddwys am lon
  Anneddle heddwch.

I deml bri yr es,
  Yn wyllt fy nghamrau ;
A synu 'r byd a wnes
  A'm rhyfedd ddoniau :
Llenorion, beirddion byd,
A'i bobloedd oll yn nghyd,
Wnaent fy mawrhau o hyd,
  Wrth wel'd fy ngweithiau.

'R wyf hefyd wedi bod
  Yn mhalas mawredd,
Yn derbyn ffugiol glod,
  A phob anrhydedd;
Trysorau dirif gawn,
A phob rhyw fwyniant llawn—
Meddiannu pobpeth wnawn,
  Ond pur dangnefedd.

Yn fuan, deuais i,
  Ryw fodd, i wybod
Mai nid mewn aur na bri
  Mae hedd i'w ganfod;
A'r awrhon, daethym i
Ymofyn â thydi,
Cyn i anobaith du
  Fy lladd â'i ddyrnod.

BUGAIL.

Yn ngoleu lamp go ddrud,
  Sef profiad rhyfedd,
Fe ddaethost ti o hyd
  I bur wirionedd;
Sef nad mewn aur diri,'
Na darfodedig fri,
Na dim fedd ein byd ni,
  Mae pur dangnefedd.

Ond eto, y mae un
  Gwirionedd purlan,
Y dylit ti, O ddyn!
  Ei gael ef allan;
Sef, mai lle byddo sedd
Boddlonrwydd deg ei wedd,
Y gwelir hon mewn hedd,
  Yn gwneyd ei thrigfan.

Hi basia balas hardd
  Y gŵr boneddig,
Nid erys gyda'r bardd
  Na'r dyn dysgedig;
Ond eto, 'r dduwies hael
A drig mewn bwthyn gwael,
Os yno bydd yn cael
  Boddlonrwydd diddig.

MYFYRIWR.

'R wy'n gweled, erbyn hyn,
Fy echrys gamwedd—
Sef, chwilio 'n hir a syn
Am bur daugnefedd:
Sef, chwilio yn y byd,
Drwy lawer trafferth drud,
Am beth na cheir un pryd
Heb feddu rhinwedd.

Och! och! mae 'r byd yn llawn
O fodau ynfyd,
Sy'n chwilio 'n ddyfal iawn
Am wir ddedwyddyd;
A chwilio gânt heb hedd,
Gan fethu gwel'd ei wedd,
Nes syrthio i lawr i'r bedd,
Mewn ofn dychrynllyd. 1856.

## IEUAN A GWILYM.

I'R mynydd yr aethym, ryw fore ysblenydd—
Lle hoff ydyw 'r mynydd, chwi wyddoch, gan feirdd;—
Ac yno yn fynych mae cyrchfa 'r Awenydd,
I edrych ar Anian a'i gemau tra heirdd;
Ar ol imi eistedd mewn lle dirgeledig,
A dechreu myfyrio ar Anian a'i swyn,
Dau fugail, i ba rai nid oeddwn weledig,
Ddechreuent ymgomio yn brudd—ond yn fwyn:—

GWILYM.

O Ieuan! a weli di 'r haul draw yn codi?
Mor lachar ysblenydd yn awr yw ei bryd!
Y mae ei ddynesiad urddasol yn dodi
Adfywiad a thegwch dros natur i gyd;
Ond nid ydyw 'r haul, gyda 'i wenau ardderchog,
Yn rhoddi i'm mynwes un gronyn o hedd,
O herwydd mae un fyddai 'n gwenu 'n fwy serchog,
Sef Catrin hoffusawl, yn awr yn ei bedd.

Ar ol i'r hyll angeu ddwys blanu 'i bicellau
   Gwenwynig a marwol yn nghanol ei bron,
Ac er fod ei mynwes dan oeraidd briddellau,
   Dan flodau a glaswellt y bedd yr awr hon;
Ond eto, canfyddir ei ffurf anghymharol
   Gan lygaid fy meddwl, pan deithiaf ar hynt;
A beunydd y gwelaf fy Nghatrin hawddgarol
   Yn cerdded y dolydd mor ddengar a chynt.

Ond och! wedi 'r cyfan, fe raid imi gredu
   Ei bod hi mewn bedd yn y fynwent sy draw;
Ow! gwelaf yr ywen or-bruddaidd yn lledu
   Ei changau yn araf mewn syndod a braw:
'R wy'n sicr na chafodd un ywen alaru
   Ar feddrod un fenyw brydferthach ei phryd;
Ac ni chafwyd bugail un ennyd yn caru
   Morwynig mor swynol a hon drwy 'r holl fyd.

IEUAN.

O, Catrin! O, Catrin! yn ddilys, hi ydoedd
   Y fenyw brydferthaf, anwylaf ar dir;
Pe chwilid yn fanwl yn awr yr holl fydoedd,
   Byth, byth, ni cheid gweled ail iddi, yn wir;
'R oedd clywed ei bod wedi marw 'n archolli
   Fy nghalon—erioed ni cha'dd hon y fath frath;
O! pa ddirfawr golled im' ydoedd ei cholli—
   Sef colli mûn hawddgar na welwyd ei bath.

Gynt, gynt, pan y byddai y nos llawn anferthwch,[1]
   Mewn c'wilydd yn cilio 'n llechwraidd ar ffo;
A phan byddai 'r bore, yn ngwisgoedd prydferthwch,
   Yn dangos ei wyneb anwylaidd i'n bro;
A! fel byddai 'm calon, gan faint fy llawenydd,
   Yn llamu 'n hyfrydol o hyd dan fy mron!
Ond bellach, nis gall y boreuddydd ysblenydd
   Weinyddu un cysur i mi yr awr hon.

Wrth weled y lili yn tyfu mewn gwylder,
   Wrth weled y rhosyn yn chwerthin yn glau,

[1] Dywed C. Swain:—"Oh! give me the night, love, the beautiful night." *Ac y mae* pethau prydferth yn dilyn ein nos ni; megys tawelwch. lleuad, a *ser; ond peth* anferth ydyw y nos ynddi ei hun, a defnyddir hi yn dra *mynych yn y Beibl* i arwyddo gofid, cystudd, ac angeu—yn wrthgyferbyniol *i ddedwydd*wch a llawenydd.

Nid ydyw eu tegwch, a'u rhyfedd anwylder,
  Ond moddion i ddirfawr chwanegu fy ngwae;
Mae gweled peth prydferth ac anwyl yn llenwi
  Fy mron âg adgofion galarus heb feth—
'R wy'n cofio am fenyw, na raid im' ei henwi,
  Oedd decach, anwylach, na phawb a phob peth.

GWILYM.

Ac felly 'r wyf finnau: wrth glywed pereiddiol
  Ganiadau 'r cerddorion sydd yn y wig werdd,
'R wy'n cofio 'r gerddores oedd fil mwy gwefreiddiol,
  Ac hefyd yn llawer melusach ei cherdd;
A phan welaf fenyw lân, hawddgar, ddeniadol—
  O herwydd mae eto rai felly 'n y byd—
'R wy'n cofio ar unwaith am Gatrin serchiadol,
  Yr hon oedd fwy prydferth ac anwyl un pryd.

A phan b'wyf yn gweled rhyw fenyw fwyn, serchog,
  Yn godro ei geifr yn y bore a'r hwyr,
'R wy'n cofio am un fedrai odro 'n ardderchog—
  A'm calon, ar hyny, sy'n toddi fel cŵyr:
Pa le mae y dwylaw a welais i ganwaith
  Yn godro—am odro eu tebyg ni fu;
A medrent wneyd pobpeth yn hylaw a glanwaith—
  Ond pa le y maent? Yn y beddrod erch, du!

IEUAN.

Pa aml wrthddrychau gollasant bob cysur,
  Pan gollwyd ein Catrin hoffusawl o'r byd;
Y gwenyn bach fyddent bob adeg mor brysur,
  A safent yn llonydd a phruddaidd o hyd:
Rhyfeddent yn ddirfawr na ddeuai'r fûn heini'
  I'w porthi, fel byddai bob amser yn dod;
Ac er fod un arall yn awr yn eu gweini,
  Nid Catrin yw hi, er mor anwyl gall fod.

Y geifr oll edrychant yn syn a dyfalus—
  Gostyngant eu penau gan alar i gyd;
Pwy byth all eu gwylio mor hynod ofalus,
  A phwy all eu godro fel Catrin un pryd?
Mae 'r mynydd yn gwisgo edrychiad pruddglwyfus,
  A'r creigiau amdöwyd â galar erch du—
Y cyntaf a rodiai 'r hoff Gatrin yn nwyfus,
  Adseinio ei chân wnai 'r rhai olaf yn gu.

GWILYM.

Wel, os gall y mynydd a'r creigiau alaru,
Pa ryfedd, pa ryfedd yn awr, ein bod ni,
Sy 'n meddu calonau priodol i garu,
Bob ennyd yn tywallt ein dagrau yn lli' ?
Ond cysur yw cofio fod ei rhagoroldeb
Yn gwneuthur marwolaeth yn elw gwir fawr;
Mae 'r un feddai yma 'r fath ddidwyll dduwioldeb
Yn un o brif engyl y nefoedd yn awr!

Pan ydoedd yn marw—mi gofiaf y boreu,
Ei gofio 'n dragywydd a wnaf erddi hi—
Fy ngalw yn dyner a wnai y fûn oreu,
A d'wedai 'n ddifrifol fel hyn wrthyf fi:—
"Fy Ngwilym! fy nghariad! 'r wy'n awr yn dy adael—
'R wy 'n myned o'r ddaiar i'r nefoedd deg, lon;
A theimlaf fawr awydd, cyn imi ymadael,
I sibrwd cynghorion i ti yr awr hon:—

O! cofia di, Gwilym, mai gwael a siomedig
Yw ffafrau daiarol a phleser y byd;
'D oes unpeth yn unman a'th wna 'n fendigedig,
Ond ffoi at y Ceidwad yn union mewn pryd;
O! darllen dy Feibl—mae ynddo drysorau
Nas gelli di 'r awrhon ddych'mygu eu maint;
Rhydd hwn gyfarwyddyd i gael y peth gorau—
Ac O! cael ei ddarllen, mor fawr ydyw 'r fraint!

O! dywed wrth Ieuan mor dda a fuasai
Gan Catrin ei weled cyn cael ei rhyddhau,
Yn wir, ymdrechaswn roi cynghor allasai
Gartrefu 'n ei galon o hyd i'w gwellhau:
Rho di iddo ef un o'r ddau Feibl yma,
A chadw y llall i fwyn gofio dy fûn;
Ac O! iawn ddefnyddia yr anrheg—can's dyma
Yr anrheg ragoraf dderbyniwyd gan un.

Byth na esgeulusa yr Ysgol Sabbathol—
Dos iddi, tra gelli, heb ballu un pryd;
Cei yno wybodaeth, â'i gwerth yn annhraethol
Ragora ar holl wybodaethau y byd:
Ond wele! 'r wy'n teimlo fy anadl yn darfod,
*A rhaid* imi roddi ffarweliad ar hyn;

Ond nid heb obeithio cawn eto gyfarfod
  Mewn gwlad na raid 'madaw nac edrych yn syn."

Yr oedd wedi d'wedyd ryw eiriau teimladol
  Wrth bob rhyw berthynas a ffrynd oedd ger llaw;
A hwythau a welid yn wylo 'n doddiadol—
  Ond tawel oedd hi, heb na gofid na braw;
Pan hedai yr enaid o'i garchar daiarol,
  O! pa mor nefolaidd yn awr oedd ei gwedd!
Yn wir, pe cawn farw fel Catrin hawddgarol,
  Gweddïwn yn awr am gael myned i'm bedd.

IEUAN.

'R oedd gwrandaw dy ryfedd a'th ddwys adroddiadau
  Yn gwneyd imi wylo a gwenu 'r un pryd;
Ni bu y fath nerthol a chymmysg deimladau
  Yn llenwi fy nghalon er pan wy'n y byd:
Meddyliwn, wrth wrandaw dy brudd ymadroddion
  (Gobeithio mai meddwl a ddaw i ben yw),
Y gallai marwolaeth 'r un hoff fod yn foddion
  I achub fy enaid, drwy 'i ddwyn at ei Dduw.

Ni ddarfu fy nghalon un amser gynhesu
  Fel darfu hi 'r awrhon tuag at y Duw mawr;
Erioed ni feddiennais fath hoffder at Iesu,
  A phan y gwnawn wrandaw dy eiriau yn awr:
Os caf Ef yn gyfaill, ni raid im' ddychrynu
  Pan fydd yr hen angeu yn dyfod i'm nol;
Fel Catrin, câf wenu yn dawel pryd hyny,
  Er gadael pob ffrynd a pherthynas o'm hol.

GWILYM.

Mi glywais laweroedd o weithiau fod Iesu
  Yn ffrynd i'r cystuddiol—rhoes drostynt ei waed!
A minnau wyf yn penderfynu dynesu
  'N awr ato yn wylaidd, gan gwympo wrth ei draed;
Gofynaf drugaredd i un truenusach
  Nag un euog adyn ddyrchafodd ei gri;
Os llwyddaf, bydd imi yn ffrynd mil hoffusach
  Na Chatrin, fûn lân, er mor anwyl oedd hi.

Y DDAU YN GWEDDIO.

Gwir Ffrynd y cystuddiol, a Chyfaill pechadur!
  O! dangos mor fawr ydyw 'th ras yr awr hon,

Drwy wrandaw cwynfanau dau ffiaidd greadur
  A geisiant ddynesu mewn braw ger dy fron:
O Arglwydd! dilea ein hechrys gamweddau;
  Er mwyn Un fu 'n gwaedu, trugaredd, O! dod;
Ac yna, nes byddont glöedig mewn heddau,
  Y caiff ein tafodau adseinio dy glod.

## FFARWELIAD

I Mr. a Mrs. Lloyd, Wisconsin, Gogledd America, Hydref 8, 1856.

CHWI ddaethoch, chwi ddaethoch dros donau y Werydd—
  Yr ydych chwi eto 'n cael tremio yn llon
Ar fryniau 'r wlad anwyl, a chlywed lleferydd
  Cyfeillion hoffusaf adawyd yn hon.

'R wy'n sicr mai llamu a wnai eich calonau,
  'R wy'n sicr mai gwenu wnai'ch genau yn rhwydd,
Pan oeddych yn canfod, ar frigau y tonau,
  Fynyddoedd hen Gymru 'n ymgodi i'ch gwydd!

A hoff ydyw tramwy ar hyd y rhodfeydd
  Lle sangodd eich traed yn ddiystyr cyn hyn;
Mor swynol erioed ni bu 'r hen olygfeydd—
  Myrdd tlysach yw gwisgoedd pob dol a phob bryn.

Ond eto, yr ydwyf yn gwybod o'r gorau
  Na ellwch fyw 'n foddlawn yn Nghymru deg wawr;
O herwydd gadawsoch y penaf drysorau [1]
  A feddwch chwi yma 'n America fawr.

Gan hyny, ein Hiôr, gan yr hwn mae pob blewyn
  O wallt penau 'i blant ar bob adeg dan ri',
A'ch dygo 'n ddiogel i fro y Gorllewin—
  Na rued y gwyntoedd, na ferwed y lli'.

Ewch â fy serch at dri anwyl [2] 'r wy 'n garu,
  Dros donau yn eigion cythryblus di-hedd;

[1] *Eu teulu.* [2] Fy mrawd a'm chwiorydd.

A d'wedwch rhoe Risiart, eu brawd, heb alaru,
Holl aur Califfornia am weled eu gwedd.[1]

Ffarwel! ond pa le y cawn eto gyfarfod—
Ai ar ryw hoff lanerch ar y ddaiar lawr?
Neu ynte, ar ol i'n blyneddoedd oll ddarfod,
Mewn gwlad na raid ofni ymadael un awr?

## PRIODASGERDD

**Mr. R. Lloyd, Penbedw uchaf, â Miss Williams, Pen y strŷt, Llanychan.**

TON: "*Prysurwch i'r Neithior.*"

LLAWENYCHED plwyf Llanychan—
Dewch â chân, a seiniwch hi;
Boed cerddoriaeth yn ei hafiaeth,
Llon beroriaeth mewn llawn bri.
Pa beth sydd? Miss Williams unwyd
Gyda Llwyd, ei phriod llon;
Boed hoff londer yn ddibrinder,
Boed heb brudd-der yn mhob bron.

CYDGAN.

Llawenyched plwyf Llanychan,
Dewch á chân, a seiniwch hi;
Boed cerddoriaeth yn ei hafiaeth,
Llon beroriaeth mewn llawn bri.

"*Lwc dda*" odiaeth! cyd-ddywedwn,
A dymunwn lwyddiant mawr
I Llwyd a'i siriol fûn hawddgarol—
Dau ragorol teg eu gwawr:
Bydded oes, heb loes, o bleser,
A phob mwynder iddynt mwy;
Ac i'r ddau gu-fad, boed eppiliad
I goroni eu huniad hwy.

Llawenyched plwyf Llanychan, &c.

[1] Pan ysgrifenwyd y llinellau uchod, Ow! yr oedd un o'r "tri anwyl" yn *gorwedd yn ei dystaw fedd.*

Hai! 'r hen gloch! ti gefaist wybod
  Am yr hynod ddiwrnod ddaeth;
Mi 'th glywa'n llunio tôn llawenydd,
  Yn hoff rydd, â *thafod* ffraeth:
Hwi y clochydd! da y tynoch—
  Canu y b'och âg egni byw;
Dydd yw hwn i lawenychu,
  Dydd i orfoleddu yw.

Llawenyched plwyf Llanychan, &c.

Ond er ceisio gwenu gronyn,
  Meddwl syn yn awr nesâ;
Ni all lloniant na llawenydd
  Wneuthur dyn yn ddedwydd dda:
Ni all gwenu, ni all canu
  Ddim chwanegu eu cysur hwy—
Am i'r Arglwydd eu bendithio,
  Dyna wnaf ddymuno mwy.

Ffryndiau mwynlan! boed in' weithian
  Droi y gân yn weddi gu:—
"Gwna hwy, Arglwydd, i ti'n blant ufudd—
  Yn rhai dedwydd yn dy dŷ."

1856.

---

## PRIODASGERDD

Fy serchog gyfaill, Mr. Ellis, athraw yr Ysgol Frytanaidd, Dinbych, â Miss Roberts, Regent House, Rhyl.

TON: "*Clychau Ruabon.*"

O ELLIS! gyfaill serchog, mwyn, sy 'n anwyl iawn i mi!
Tra hoff oedd genyf glywed am eich priodas chwi;
Chwi gawsoch gan yr Arglwydd rodd [1]—hawdd gellwch fod yn llon;
Ond Ow! fy nghysur i a ffodd—mae pigyn dan fy mron.

Rhagluniaeth ddoeth ein nefol Dad fu 'n dirion wrthych chwi—
Yr un rhagluniaeth dyner dda fu 'n chwerw iawn i mi;

[1] *Diar.* xix. 14.

Er dirfawr gysur, rhoes i chwi eich priod fwyn ei gwedd;
Ond Ow! nid cysur gefais i—mae 'm hanwyl chwaer mewn bedd!

Ond O! nid wyf am rwgnach dim yn erbyn trefn y Nef—
Rhyw fraint annhraethol yw cael bod o dan ei gerydd Ef;
Mae 'n well i mi na phe cawn holl drysorau 'r byd yn rhad,
Gael fy ngheryddu yr awr hon gan nefol dirion Dad.

Fy Ellis serchog iawn a hoff, a'ch priod fwyn ei bri,
Gweddïo wnaf am fendith Naf ar eich priodas chwi;
Cydfyw 'n garuaidd iawn y b'och, dan wasanaethu Duw,
Gan hyfryd deithio, law yn llaw, i wlad sydd well i fyw.

O gyfaill anwyl! pwy a dd'wed mor bwysig yw eich gwaith?
Na faint fydd eich dylanwad ar luoedd oesoedd maith:
Er uched yw eich haeddawl glod, er maint eich dysg a'ch dawn,
Rhaid ich' gael bendith Nef o hyd, er gwneyd y gwaith yn iawn.

Gan hyny, ar yr Arglwydd, fy ngweddi daer a fydd,
Am iddo 'ch gwneuthur chwi eich dau yn fendith yn eich dydd;
Ac yna, wedi ichwi fyn'd o'r ddaiar hon mewn hedd,
Arogla 'ch enwau 'n beraidd pan orweddwch yn y bedd!

1856.

---

## LLINELLAU I FY CHWAER,

E. S. Edwards, ar ddydd ei genedigaeth, sef dydd Nadolig, 1854, pan yr oedd yn 21 mlwydd oed.

O! mor wir mae 'r Ysgrythyrau
N' traethu am ein dyddiau ni,
Wrth ddweyd eu bod fel cyflym longau
Sydd yn nofio gerwin li';
Ar hyd tonau geirwon amser,
Ein gwyllt gario y maent hwy;
Pwy all attal eu cyflymder
Am un ennyd fechan—pwy?

Pe bai 'r brenin mwyaf nerthol
  Welwyd unwaith yn y byd,
Yn hyf ddweyd yn awdurdodol
  Am iddynt sefyll am ryw hyd,
Teithio 'n mlaen wnaent, heb ystyried
  Un o'r geiriau draethai ef;
Ni chymmerent arnynt glywed
  Y dyn mwyaf dan y nef.

O! 'r gwaith rhyfedd dwys i minnau
  Ydyw gorfod credu 'n awr
Fod dau ddeg ac un o flwyddau
  O fy einioes ar y llawr
Wedi myned, wedi myned,
  Yn bell, bell, o'm cyrhaedd mwy;
Ac nas gallaf eto weled
  Dydd nac awr o honynt hwy.

O! flyneddoedd gwerthfawr odiaeth!
  Eich adgofio 'r ennyd hon
Grëa ddiolchgarwch helaeth,
  A mawr alar dan fy mron;
O! mor llawn o bob cysuron
  A bendithion fuoch chwi;
Ond mor llawn o bob diffygion,
  Ac mor ddiffrwyth a fum i!

Er fod pawb o'm deutu 'n siriol
  Ar y diwrnod hynod hwn,
Mae fy nghalon i 'n gystuddiol,
  Fel pe dan ryw anferth bwn;
Tra yn rhifo y blyneddau
  A ddiflanent fel un awr,
O! mor llawn o anwireddau
  Oeddynt hwy, O Arglwydd mawr!

Ond, fy Nuw! er mor anmherffaith
  O dy flaen yn awr wyf fi,
'R wyf am droi fy wyneb unwaith
  Eto tua Chalfari;
Gwelaf yno Ffrynd anwylaf
  Y pechadur mwyaf gaed,—
Ar ei haeddiant ef y pwysaf,
  Ymddiriedaf yn ei waed.

Dyma 'r fan caf nerth i dreulio
  Yr hyn sydd yn ol o'm taith
Ar y ddaiar yn fwy effro
  Gyda phob rhyw ran o'th waith :
Iesu ! mi erfyniaf arnat
  Roddi 'th Ysbryd im' o hyd,
I fy nhywys, nes dod atat
  I'th fwynhau heb boen un pryd.

## 'RWY'N UN AR UGAIN OED.[1]

O ! PA deimladau rhyfedd sy
  Yn llenwi 'm clwyfus fron,
Tra mae adgofion heddyw 'n llu
  'N ymrithio ger fy mron ;
Ar hyn, fy nyled uchel yw
  I foli Duw 'n ddioed,
Fy mod yn awr ar dir y byw,
  Yn un ar ugain oed.

P'le maent chwareuent â mi gynt
  Yn nyddiau hyfryd hedd ?
Mor heinif oeddynt ar eu hynt—
  Mor llon ac iach eu gwedd ;
P'le maent yn awr ? Ow ! eu holl fri
  Yn ngwaelod bedd a roed,
Ac isel ydynt pan wyf fi
  Yn un ar ugain oed.

Ond Ow ! pa golled gefais i —
  Mae 'm hanwyl chwaer mewn bedd !
Pan wybum am ei chladdu hi,
  Fe gladdwyd fy holl hedd :
Bu farw mewn estronol wlad--
  Mewn estron dir fe'i rhoed ;

[1] Ionawr 14, 1857.

Chwerw yw 'm cwpan, nefol Dad,
Yn un ar ugain oed.

Ond ceisiaf, er mor anhawdd yw,
Fel Aaron, fod yn fud,
Gan edrych ar ddaioni Duw,
Yr hwn sy fawr bob pryd;
Mi gollais chwaer—ond dedwydd yw,
Os ei chorff mewn bedd a roed;
Am rai sy'n fyw y molaf Dduw,
Yn un ar ugain oed.

## MARWOLAETH Y PARCH. EVAN EVANS (IEUAN GLAN GEIRIONYDD).

ARDDERCHOG, enwog Ieuan!
O! 'r gorchwyl prudd i mi
Yw credu ddarfod weithian
Dy einioes werthfawr di:
Mae rhinwedd ac athrylith
Yn wylo wrth dy fedd,
Ac yn cyhoeddi melldith
Ar angeu brwnt ei wedd.

Mae Cymru anwyl odiaeth,
A geraist ti mor fawr,
Sef gwlad dy enedigaeth,
Yn drist ei gwedd yn awr;
Pa bryd y gall hi beidio
A wylo am danat ti?
Pa bryd y gall anghofio
Ei phlentyn anwyl hi?

Pob Cymro sydd yn meddu
Gwir deimlad dan ei fron,
A welir yn galaru,
Gan fethu bod yn llon;
Wrth iddo brudd adgofio
I angeu 'th ddwyn yn gaeth,
Ei galon sydd yn teimlo
Rhyw ddirfawr ddirfawr aeth.

Tra bydd ein Gwalia dirion
  Yn enwog ran o'r byd,
A'i hen fynyddau mawrion
  Yn hyf addurno 'i phryd,
Y pery 'th awen nefol
  Heb golli dim o'i swyn,
A'th enw di 'n wastadol
  Yn anwyl er ei mwyn.

Drwy y dilynol oesau,
  A ddeuant dros y byd,
Bydd dy seraphaidd odlau
  Yn lloni 'r saint bob pryd;
A'th enw, Ieuan dirion,
  Yn argraffedig fydd,
Ar galon llawer Cristion,
  Nes delo 'r olaf ddydd.

A! llawer, Ieuan, llawer,
  A fuasai 'n hoffi bod
Yn meddu ond yr hanner
  O'th hawl i fythol glod;
Pe gallwn fyw a marw,
  O Ieuan! fel tydi,
Anfarwol fyddai 'm henw,
  Anfarwol fyddai 'm bri!

Ond pwy ddarlunia 'r golled
  Wnaeth angau gyda'i gledd,
Pan gwympodd yn ddiarbed
  Y cadarn hwn i'r bedd?
Cyfranwr pob daioni
  I ddynion is y ne',
Erfyniwn arnat roddi
  Un arall yn ei le.

*Chwefror*, 1855.

## MARWOLAETH JOHN WILLIAMS, Ysw., BRONWYLFA.

O, ANGAU! O, angau! ai 'n henwog wladgarwr
A sathrwyd yn greulawn dan wadnau dy draed?
Tra 'n sychu ei ddagrau, mae llawer galarwr
Yn methu llwyr gredu 'r prudd hanes a gaed.

O! Williams anwylaf, fu'n hyf wasanaethu
Ei genedl yn ffyddlawn nes cwympo i'r bedd,
Ai ni chawn ni mwyach ond pruddaidd hiraethu
Am danat, heb obaith cael gweled dy wedd?

O isel sefyllfa rhagluniaeth a'i cododd
I gyfoeth, enwogrwydd, anrhydedd, a bri;—
Ond nid ymfalchïai ein gwron—ond dododd
Esiampl o wir ostyngeiddrwydd i ni.

Ni pharchai'r cyfoethog o ran ei aur melyn,
Erioed ni chaed e 'n diystyru 'r tylawd;
I ormes y mawrion yr ydoedd yn elyn,
I'r tlodion rhinweddol yr ydoedd yn frawd.

Pob peth yn perthynu i Gymru a garai,
Ei hiaith a'i llenyddiaeth a noddai yn llon;
Fel Cymro gwnai ymddwyn, fel Cymro llefarai,
Can's calon gwir Gymro a gaed dan ei fron.

Tra 'n aelod seneddol,[1] bu 'n gwir gynnrychioli
Y rhai a'i dewisent i lenwi 'r hardd swydd;
Ond eto pryd hyny ymdrechai lesoli
Ei wlad ar bob adeg, a charai ei llwydd.

Ond, och! wele 'n nghanol ei fawr ddefnyddioldeb,
Hen angeu dideimlad a'i torodd i lawr:
I wladwr feddiannai y fath ragoroldeb,
Mor anhawdd yw rhoddi ffarweliad yn awr!

*Rhagfyr*, 185[illegible]

[1] Dros Macclesfield.

## MARWOLAETH Y PARCH. JOHN JONES, TAL Y SARN.

Fy ngwlad! pa drychineb echryslon
 Ddygwyddodd yr awrhon i ti?
Pa'm llwythir dy anwyl awelon
 A thrymion och'neidiau diri'?
Ow! un o dy brif ragorolion
 Ni welir yn awr gyda ni!

O, Sïon! diflanodd dy fwyniant,
 A gwywodd holl flodau dy hedd;
Dwys glwyfir dy fynwes gan siomiant,
 A galar sy'n duo dy wedd;
Nid rhyfedd, can's ar dy ogoniant
 Y cauodd cadarnborth y bedd!

Ow! pa le mae'r genau ddyhidlent
 Hyawdledd a losgai fel tân,
Nes gyru 'r tyrfaoedd a'i clywent
 I grynu neu seinio pêr gân:
O! pa fodd y credaf am foment
 I angau gloi genau mor lân!

O! fel byddai torf dirifedi
 O dan ei awdurdod yn llwyr;
Cadwynau uffernol yn tori,
 Calonau yn toddi fel cwyr,
A chryf anghrediniaeth yn gwaeddi—
 "Caf finnau fy achub—pwy ŵyr!"

Gan rym ei hyawdledd tanbeidiol
 Ffoi ymaith wnai rhagfarn yn fud;
A thystiai y da a'r annuwiol—
 A seliai 'r enwadau i gyd,
Mai cenad oddi wrth ein Duw grasol
 Oedd ef, a mawr fendith i'n byd.

Pan mewn cyfarfodydd lluosog,
 Uwchben rhyw dyrfaoedd mawr iawn,
Mor isel ei agwedd ddihalog,
 Ond hynod mor uchel ei ddawn;

Wrth son am drueni yr euog,
  Am Sinai, neu fawredd yr Iawn !

Fel "t'wysog yn Israel" d'ai allan,
  Ac uchel ddyrchafai ei lef,
Yn llawn o rymusder y daran
  A sigla bob ardal a thref ;
Dangosai fod Un "mwy nag Ioan"
  Yn anerch y dorf drwyddo ef.

Am lawer o flwyddau mor ffyddlon
  Gwas'naethodd ei Feistr bob pryd ;
Ac O ! ei was'naethu mae 'r awrhon
  Mewn hwyl orfoleddus o hyd :
Ond anhawdd yw teimlo yn foddlon
  I golli 'i gyffelyb o'r byd.

Am athraw ardderchog a dïail,
  O Sïon ! mae'th galon yn friw ;
A methu yr ydwyt ei adael
  Yn llonydd yn mhalas dy Dduw :
Ond cofia, 'd oedd ef ond is-fugail,
  Mae'r "Pen-bugail" eto yn fyw !

1857.

---

## MARWNAD[1]

*Fy anwyl chwaer, Mary Louisa Edwards, Bryngwynfry, Rosendale, Wisconsin, Gogledd America.*

"[Bu farw Medi 21ain, yn Rosendale, Wisconsin, o'r *typhoid fever*, Miss M. L. Edwards, diweddar o Ogledd Cymru. Cafodd ei chymmeryd o'r byd i'r bedd pan yn 25 oed—yn ei dyddiau goreu; eto, credwn ei bod wedi myned i fyd sydd well i fyw. Yr oedd Miss Edwards yn aelod hardd gyda yr Annibynwyr rai blynyddau cyn dyfod i'r wlad hon, a pharhaodd yn ffyddlawn hyd angeu. Gadawodd un brawd, a'r unig berthynas oedd ganddi yn Wisconsin, i alaru ei golled ar ei hol. Duw a'i "diwallo yntau yn foreu a'i drugaredd," ac a'i tueddo i ddyfod i lanw lle ein hanwyl chwaer yn eglwys Crist. Ar ddydd ei hangladd, anerchwyd y gynnulleidfa, gyda gweddio wrth y tŷ, gan y Parch. Mr. Kendle, gweinidog y Saeson; pregethwyd yn y capel gan y Parch. John Parry, ac anerchwyd y gynnulleidfa ar lan y bedd gan yr ysgrifenydd; yna ymadawodd pawb gyda theimladau dwys o hiraeth ar ol un a gerid yn fawr. Gwelodd Duw yn oreu i gymmeryd un o'r rhai anwylaf oddi wrthym: eto, mae genym le i ddiolch am ei ymweliadau diweddar â ni fel eglwys fechan yma." * * * * —JOHN DAVIES.—*Cenadwr Americanaidd*, Tachwedd, 1856.]

[1] *Gwel ei phregeth angladd gan J. R., yn y Cronicl, am Ionawr, 1857.*

O! PA newydd trist ofnadwy?
  O! pa eiriau llawn o fraw,
Ddaeth dros ddirif donau 'r Werydd
  Atom o'r Amerig draw?
Ow! a all mai gwir yw 'r geiriau?
  Ow! pa beth a wnaf fi 'n awr?
Ow! fy nghalon! hon sy 'n gwysau
  Dan ddyrnodiau gofid mawr.

O! fy anwyl chwaer, Louisa,
  Wyt ti 'r awrhon yn y bedd?
Ai nid yw dy frawd cwynfanus
  Eto i gael gwel'd dy wedd?
O! mor anhawdd, O! mor galed,
  O! mor chwith, mor enbyd yw,
Credu nad wyt ti i'th weled,
  Heddyw 'n rhodio gyda 'r byw!

O! fy anwyl chwaer, Louisa,
  Tystio wnaf â'm dagrau 'n lli',
Nas gwybûm erioed cyn yma
  Dy fod mor anwyl genyf fi:
Os rhaid imi roddi ffarwel,
  Ffarwel bythol iti 'n awr,
Gallaf ganu 'n iach ar unwaith,
  I bob cysur ar y llawr.

Nis gall Anian ogoneddus—
  Er mai 'i phlentyn ydwyf fi—
Roddi gwên ar fy ngwefusau,
  Gyda 'i holl ber-swynol fri;
Caiff y lili, caiff y rhosyn,
  A'r blodeuyn teca'i wedd,
Ffynu 'n brydferth heb fy sylw,
  Os yw 'm hanwyl chwaer mewn bedd.

O! mor hoff a fyddai genyf
  Syllu ar y rhosyn gwyn;
Gwel'd y môr, a gwel'd y mynydd,
  Gwel'd y ddôl o ben y bryn;
Ond gwell genyf heddyw weled
  Y tywyllwch yn amgau
O fy amgylch—minnau 'n wylo,
  Wylo i ysgafnhau fy ngwae.

Fel yr hoffwn yn y bore,
  Eistedd ar y glaswellt glân,
Ac hir wrandaw mewn llawenydd,
  Ar ganiadau 'r adar mân;
Gwell yw genyf heddyw glywed
  Dwfn a phrudd alarus gri
Yr afonig, sy 'n ymddangos
  Fel yn cwynfan gyda mi.

O! fy anwyl chwaer, mor aml
  Mewn myfyrdod gwelaf di;
Gwelaf dy addfwynaf wyneb
  Yn tawel wenu arnaf fi;
Ond pan ddel i'm cof fod angeu
  Wedi dryllio 'th einioes frau,
O! fy nghalon, O! fy nghalon,
  Fe fydd hon yn llawn o wae!

Chwerw, chwerw, oedd y bore,
  Aeth â thi mor bell o'n gŵydd;
Wnaeth i frodyr a chwiorydd,
  Wylo 'r dagrau hallt yn rhwydd;
Wnaeth ein hanwyl fam dirionaf
  Y druenusaf yn y byd—
Chwerw, chwerw, oedd y bore,
  Chwerw, chwerw, fydd bob pryd!

Ar y bore hwn cusenaist
  Ti dy anwyl, anwyl fam,
Arni wedi hyny cefnaist—
  Ond cyn rhoddi llawer cam,
Tro'ist yn ol, a dwys y syllaist
  Ar yr hon a'th ymddug di,
Er ei gwel'd un waith yn rhagor—
  Anhawdd oedd ei gadael hi!

Anhawdd ydoedd iddi hithau
  'D ollwng di o rwymau 'i serch;
Pwy all fesur, pwy all bwyso,
  Cariad mam at anwyl ferch?
Haws yw mesur y ffurfafen,
  Haws yw pwyso 'r moroedd mawr
Nag yw mesur, nag yw pwyso,
  Cariad mam at ferch un awr.

Os oedd brodyr a chwiorydd
  Gynt yn wylo dagrau 'n nghyd,
Wrth dy wel'd yn myn'd o'th anfodd
  Draw o'n gẁydd i'r newydd fyd;
Os oedd galar, y pryd hyny,
  Yn seiliedig ar ein gwedd,
Ow! pa beth a wnawn ni heddyw,
  Pan orweddi yn dy fedd!

Os oedd anwyl fam, pryd hyny,
  Mewn dysgwyliad prudd o hyd,
Am i angeu ddryllio 'r rhwymau
  Rhyngddi â gwrthddrychau 'r byd,
Pa beth a wnei, O! fam anwylaf,
  Erbyn heddyw, pan mae hi,
Oedd mor anwyl, yn y beddrod?
  Ow! fy mam, pa beth wnei di?

O! epistol creulawn odiaeth,
  Sydd yn llenwi 'm bron o wae;
O! na allwn, fel yr hoffwn,
  Wneyd dy eiriau gwir yn gau:
O! 'r fath gyffro, O! 'r fath alar,
  Yn mhlith teulu beraist ti!
O! 'r ofnadwy genad oeddyt—
  Cenad gwaeth ni welais i.

O! fy anwyl chwaer, na chawswn,
  O! na chawswn am un waith,
Weled dy addfwynaf wyneb,
  Cyn dy roi 'n y llety llaith;
O! na chawswn dy gusanu,
  O! na chawswn wasgu 'th law,
O! na chawswn air o'th enau,
  Cyn dy ddwyn i'r beddrod draw.

O! mor groes i'th feddwl ydoedd
  Marw mewn estronol wlad;
O! mor gryf oedd dy ddymuniad
  Fod dy fedd yn Nghymru fad:
Ow! pan gofiaf fi mor ofer
  Fu dy ddymuniadau di,
Gofid fydd yn llwytho 'm calon,
  Er im' dywallt dagrau 'n lli'.

Onid aml oedd dy gwynion,
  Draw yn nghôl y newydd fyd,
Am y wlad lle 'r oedd dy galon
  Yn cartrefu ar bob pryd ?
Beth oedd mawredd yr Amerig,
  Beth oedd ei holl swynion hi,
I un feddai y fath gariad
  At ei hen-wlad â thydi ?

O ! fy chwaer, yr wyf yn cofio,
  Yr wyf yn cofio am y pryd,
Pan y tawel gyd-breswyliem
  Ar un aelwyd gynes glyd ;
Pan na rwygai cleddyf trallod
  Ein calonau tyner ni—
Ond mae hyny wedi darfod !
  Wedi darfod !—beth wnaf fi ?

O ! fel 'r hoffwn i gael sefyll,
  Wrth y fan yr huni di :
Mi gusanwn bridd dy feddrod—
  Cyssegredig yw i mi ;
O ! mi daenwn y rhosynau
  Mwyaf prydferth ar dy fedd,
Ac eneiniwn gyda 'm dagrau,
  Dy orphwysfa wael ei gwedd.

O'r fan yma ar fy ngliniau,
  Mi ddanfonwn weddi daer
Ato Ef, fu 'n wylo dagrau,
  Am gael huno gyda 'm chwaer ;
Am gael peidio dyoddef mwyach
  Bwys gofidiau tost heb ri',
Am gael huno—huno 'n dawel
  Yn y bedd lle 'r huni di.

Ond mae echrys donau 'r Werydd
  Rhwng dy feddrod hoff a mi,
O ! na fedrai 'm corff ehedeg,
  Fel fy meddwl atat ti ;
Atat ti ?—ai hyny dd'wedais ?
  Atat ti ?—p' le 'r wyt yn awr ?
O ! fy ngalar, ti 'm harweiniaist,
  Do, i gamgymmeriad mawr.

Atat ti?—p' le 'r wyt yr awrhon?
  Ai yn yr Amerig draw?
Na, yn nghwmni teg angelion,
  Yn y nef heb boen na braw;
Ac er iti 'n awr gartrefu
  O'th hen wlad yn eithaf pell,
Nid oes hiraeth mwy am Gymru—
  Cefaist wlad sy ganmil gwell.

Nid oes hiraeth ar dy galon
  Am dy hen gyfeillion cu,
Ac nid wyt yn cofio 'r awrhon
  Am dy frawd, sef Risiart Ddu:
Y mae yna ar yr orsedd,
  Un fu farw ac sy'n fyw,
Edrych arno yn ddidiwedd
  Yw dy waith—a digon yw.

Gado wnest yn mlodau 'th ddyddiau
  Y byd hwn a'i bethau ffol
Cist o gyrhaedd swn gofidiau—
  Mi ddof finnau ar dy ol;
Gwnaf, fy anwyl chwaer, mi ddeuaf,
  Teithio 'n gyflym yr wyf fi,
Ac un ennyd ni arosaf,
  Nes bod yn dy gwmni di.

Ow! fy mrawd, mil hawddach dirnad
  Dy deimladau 'r foment hon,
Nag yw rhoddi gwir ddarluniad
  O'th ofidus glwyfus fron;
Eto, paid ag anobeithio,
  Cofia 'r ennill gafodd hi,
Cofia dy fod dithau 'n teithio
  Heddyw 'n ddyfal ati hi.

Anwyl frawd, nid cymhwys ini
  Wneyd ein cartref yn y byd;
Cawn ryw sobr wers i brofi
  Y gwirionedd hwn o hyd;
Colli wnawn ein holl gyfeillion,
  Neu ein colli ni gânt hwy;
O! am gwrdd mewn gwlad hyfrydlon
  "Uwchlaw ofn ymadael mwy."

## OWEN AC ELEN.

'R OEDD Elen yn dirion fun hoff a chariadlon,
  A'i harddwch yn syndod i'r byd;
Pawb oll a adwaenai 'r un serchog a'i carai,
  A hawdd oedd ei charu bob pryd.

Gwir lun a pherffeithder prydferthwch cain tyner,
  A geid yn y fenyw deg lon;
Melusder ei geiriau a ddenai 'r serchiadau,
  I'w charu mewn eiliad o'r bron.

Yr oedd ei chu ruddiau fel prydferth rosynau,
  Ganfyddir yn Ebrill a Mai;
A'i gwallt du godidog a geid yn fodrwyog,
  O ddeutu 'i gwddf tyner yn glau.

Yr oedd ei golygon fel anwyl ser mwynion,
  Yn llawn caredigrwydd bob awr;
A dwylaw oedd ganddi, myrdd glanach na'r lili
  Prydferthaf a geir ar y llawr.

Ond nid oedd prif swynion y fenyw lân dirion,
  I'w gweled yn nglendid ei phryd;
Yr oedd yn feddiannol ar rinwedd tirionol,
  A deall da gwerthfawr o hyd.

Ei hamcan beunyddiol oedd bod yn ddefnyddiol,
  Drwy 'r tymmor oedd ganddi i fyw;
O! fel bai 'n ymhoffi mewn gwneuthur daioni,
  A hyny o gariad at Dduw.

Wrth wel'd y dull gwylaidd, a'r agwedd angelaidd,
  Feddiannai tra yma 'n y byd;
Nid anhawdd oedd credu ei bod y pryd hyny,
  Yn fôd uwchdaiarol bob pryd.

Ond er ei holl riniau a'i chain ragoriaethau,
  Er teced a gwyched ei gwedd,
Daeth angeu du heibio i'w nodi yn eiddo,
  Yn hyf i'w throsglwyddo i'r bedd!

Er amlêd ymbiliau a thaerion weddïau
  Perth'nasau a cheraint yn llu,

Ni wnai yr hen angeu ddim gwrando 'u cwynfanau,
   Nac arbed y fenyw fwyn gu.

'R ol iddynt ei dodi drwy alaeth a chyni,
   I orwedd yn mynwent y llan,
Daeth Owen—lanc tirion—i adrodd ei gwynion,
   Fel hyn y llefarai 'n y fan :—

"Dynesaf mewn trallod, i wylo wrth feddrod
   Un anwyl, oedd well na'r holl fyd;
Wrth fedd Elen dirion, oedd aml ei swynion,
   Tywalltaf fy nagrau i gyd.

O, Elen ! fy Elen ! fy anwyl fwyn Elen !
   Fy nghysur, fy angel oedd hon ;
Er mwyn fy hoff Elen y bûm i fyw 'n llawen,
   Heb loes yn cartrefu 'n fy mron.

Ond gwae ! gwae i Owen ! ni wel ê mo 'i Elen
   Yn rhodio y ddaiar byth mwy ;
Rhaid iddo foddloni i fyw 'n y byd hebddi,
   A'i galon ar dori yn ddwy.

Ow ! pam na wna angeu anelu ei saethau
   At rywrai sy 'n addfed i'r bedd ?
Yn lle taro 'n greulon yr oreu 'n mhlith dynion,
   Yn nghanol prydferthwch ei gwedd.

O ! fel gwnawn ddych'mygu pa fwyniant f'ai'n tarddu,
   O'm huniad âg Elen yn glau ;
Fel byddem yn treulio ein dyddiau heb gyffro,
   Mewn undeb a chariad ein dau.

Ond chwalwyd yn greulon fy swynol amcanion,
   Fel cwmwl darfyddent heb ludd ;
Fy ngobaith ddiflanai fel ser yn y borau,
   A ffoant pan welant y dydd.

Wrth feddwl fod Elen o dan y dywarchen,
   Nis gallaf ymgynnal yn hwy ;
Ni bydd imi gysur, ond blinder a llafur,
   Tra 'n rhodio y ddaiar byth mwy.

Am hyny, O, angau ! gwna ddattod y rhwymau,
   A gad imi fyned i'r bedd ;

Drwy farw mewn poenau dan faich fy ngofidiau,
Am Elen hoffusawl ei gwedd."

Fel tyner flodeuyn yn gwywo yn sydyn,
Pan chwyth y gogleddwynt yn gry',
Fel hyny 'r oedd yntau gan drymion flinderau,
Yn gwywo wrth fedd Elen gu.

Ac yn ei anobaith, dan feichiau o hiraeth,
Mewn llewyg syrthiasai 'n y lle;
Ond i ladd ei ammheuon a rhoddi cysuron,
Anfonwyd goleuni o'r ne'.

Cryfhaodd ei obaith, fe welodd ar unwaith
Mai perffaith ewyllys ei Dduw,
Oedd myned âg Elen oddiar y ddaiaren,
I fwyniant tragwyddol i fyw.

"Dy ewyllys a wneler, O, Arglwydd! bob amser,"
Ddywedai â'i galon yn llawn;
"A maddeu, Iôr cyfion, i minnau yr awrhon,
Am feio 'th ragluniaeth ddoeth iawn.

'R wy'r awrhon yn cofio fod Iesu yn addo
Ei gymhorth i'r gwan wrth ei draed;
Af finnau at ei orsedd i erfyn trugaredd,
Drwy haeddiant bendigaid ei waed.

Os collais i Elen anwylaf dan heulwen,
Ni chollaf fi 'r Iesu un pryd;
Caf e'n gyfaill imi yn mhob rhyw galedi,
Tra byddaf fi yma 'n y byd.

Daw eto ryw amser caf wel'd Elen dyner,
Yn mhell oddi wrth ofid a chlwy',
Mewn lle na ddaw angeu i ddattod ein rhwymau,
Ac na raid ymadael byth mwy."

### BEDDARGRAFF ELEN.

Gwel yma feddrod benyw deg ei gwedd,
Tra ar y llawr meddiannu wnaeth mewn hedd,
Brydferthwch corff ac enaid yr un pryd,—
Wrth wel'd ei chartre'n awr, O! wyled byd!

Ond cofier, os ei chorff fan ym[illegible]roed,
Ei henaid sy 'n fwy dysglaer nag erioed;
A phan ddaw 'r erchyll hyfryd olaf ddydd,
Ei chorff pryd hyny 'n ddysglaer, ddysglaer fydd.
1853.

---

## AELWYD FY RHIENI.

O! DYMA destyn anwyl iawn,
A'i swynion yn ddi ri';
Pa destyn gwell nag aelwyd lawn
Fy rhiaint anwyl i?

O holl lanerchau 'r ddaiar hon,
Sy'n hoffus im' o hyd,
'D oes un mor aml ger fy mron,
A'r aelwyd gynes glyd.

Fy meddwl 'hed yn fynych iawn,
At hon, mewn cyflym hynt,
Gan gofio y bendithion llawn
A gefais arni gynt.

Pan oeddwn gynt yn faban gwan,
Heb fedru gwneuthur dim,
Pa le mor anwyl sydd a'r fan
Y rhoed ymgeledd im'?

Nis gallwn gyda 'm hegwan lais,
Ddim dweyd fy nghwyn wrth un;
Ond yr oedd *un* ddeallai 'm cais—
Fy anwyl fam fy hun.

Ni fedrwn sefyll ar fy nhraed,
Am ennyd fechan iawn;
Ond gwerthfawr fynwes gynhes gaed,
A llechu yno wnawn.

A phan yn dysgu 'r rhyfedd waith,
O gerdded yma a thraw,

Mi a syrthiaswn lawer gwaith,
  Heblaw fod tyner law—

Rhyw dyner, dyner, dyner law
  I'm cynnal ar bob cam ;
A symmud ymaith fy holl fraw,
  Y byddai llaw fy mam.

Hoff aelwyd fy rhieni clau,
  Yr awrhon oedd fy myd,
A digon oedd tra gwnes barhau,
  Yn faban isel fryd.

Aelwydydd lawer welais i
  'R ol hyny, heblaw hon ;
Ond un mor anwyl im' â hi,
  Ni fedd y ddaiar gron.

Ar hon y dysgais gynta'n f' oes,
  Y newydd goreu sydd ;
I Iesu farw ar y groes,
  I wneyd y caeth yn rhydd.

'R wy'n cofio 'n dda am wedd fy mam,
  Mor anwyl ydoedd hi !
Yr oedd fel angel pur di-nam,
  Pan dd'wedai hyn i mi.

Ac ar yr aelwyd hon yn glau
  Y dysgais i—gwir yw—
I agor fy ngwefusau mau,
  Mewn gweddi ar fy Nuw.

Pan gyda 'm mam ar hwyr y dydd,
  Fy nysgu a wnai hi
I dd'wedyd, "Iesu anwyl bydd
  Drugarog wrthyf fi."

Ac ar yr aelwyd hon yn fad,
  Y'm dysgwyd i mewn pryd,
I ddarllen geiriau 'm nefol Dad,
  Sy'n fwy eu gwerth na'r byd.

O ! fel y tystiai 'nhad a mam,
  Y trysor mawr a gawn ;

Os chwilio 'r Gair yn ddyf[illegible]m
  Y trysor hwnw wnawn.

Ac ar yr aelwyd gynhes glyd,
  Bob bore a phrydnawn;
Y deuai 'r teulu oll yn nghyd,
  Yn gwmni hawddgar iawn.

A chyda difrif wedd yn awr,
  Fy mythol anwyl dad
Ddarllenai ran o'r "Beibl mawr,"
  Gan roddi eglurhâd.

Ac yna ar ein gliniau 'n nghyd,
  Yr aem i gyd yn awr;
Wrth feddwl am y nefol fyd,
  Anghofiem bethau 'r llawr.

Ac, O ! fel y gweddïai 'nhad,
  Mor wylaidd fyddai 'i lef;
Mor batriarchaidd ac mor fâd,
  Y curai ddôr y nef.

O! fel y soniai am yr Iawn,
  A phoenau 'r Oen a'i gur;
Er nad oedd yno fawredd dawn,
  'R oedd yno galon bur.

Mor daer gweddïai 'r nefol sant,
  Dros bawb f'ai yn y lle;
Pwy ŵyr pa beth a ddaeth i'w blant
  Drwy ei weddïau ê ?

Ac O ! 'r cynghorion roddai fe,
  A'n hanwyl fam i ni;
Lle bynag byddaf dan y ne',
  Eu cofio byth wnaf fi.

O! aelwyd anwyl iawn i mi,
  Pa bryd y down i ben
A rhifo ei bendithion hi,
  Ddisgynent ar fy mhen ?

Ac er fod ugain mlwydd o'r bron,[1]
  Er pan groesawyd fi,

[1] Cyfansoddwyd y gân hon yn mis Mai, 1855. Yr oedd yr awdwr yn ugain
d, ar y *14eg o Ionawr, 1856.*

Yn llaw[illegible]ar yr aelwyd hon,
  Fel un o'i deiliaid hi.

Y mae ei henw yn parhau,
  I feddu 'r unrhyw swyn,
A phan yr oeddwn yn mwynhau
  Bendithion hon yn fwyn.

A phan ar ddychymygawl hynt,
  Y ceir fi 'n teithio 'n llon;
Na 'r fellten hoewaf, ăf yn gynt,
  Tuag at yr aelwyd hon.

Ac arni am oriau maith yn byw,
  Mewn myfyr dwys ceir fi,
Yn cofio llawer un o'i gwiw
  Fendithion sy'n ddi ri'.

Wrth wel'd fy hoffder, cyfaill llon
  Ofynodd imi 'n fwyn,—
"Pa ham y ceri 'r aelwyd hon?
  Pa le y mae ei swyn?

"Ti dd'wedaist wrthyf fi, rhyw bryd,
  Mai un gyffredin yw,
Ac na fedd unrhyw addurn drud,
  I wneyd ei gwedd yn wiw.

"Gan hyny, mae rhyw awydd mawr
  Yn codi dan fy mron,
Am wybod p'am y ceri 'n awr
  Yr aelwyd seml hon?"

Ei ateb ef yn union wnes—
  "Hawdd d'wedyd hyn i ti;
O herwydd y bendithion ges,
  Tra 'n blentyn arni hi."

P' le bynag byddaf yn y byd,
  Er bod yn mhell o'm bro;
Ei henw gaiff anneddle clyd,
  Bob ennyd yn fy ngho'.

A cheisiaf roi ufudd-dod llawn
  I'w phur reolau hi;

Ac fel y gwnelwyf hyn yn iawn,
O! Arglwydd, nertha fi.

---

## Y DDAMWAIN FFODUS.

Mehefin 29ain, 1855, yr oeddwn i a'm chwaer, E. S. Edwards, yn cychwyn yn nghyd i Ruthyn, mewn *gig;* ond pan oeddym ar ganol y ffordd gul sydd yn arwain at y tŷ, dyna ddau o'n ceffylau, gyda throl wag, yn dyfod nerth y carnau i'n cyfarfod. Yr oedd yn anmhosibl eu hysgoi. Neidiasom ein dau allan o'r *gig* mewn eiliad. Er culed oedd y ffordd, medrodd y gaseg oedd dan y *gig* droi yn ei hol rywfodd heb daflu yr olaf. Dechreuodd redeg yn ei hol; ond wedi iddi fyned ddwy lath neu dair yn mlaen, aeth y gaseg oedd yn flaenaf wrth y drol heibio iddi, gan dynu y ceffyl oedd ar ei hol, yn nghyd â'r drol, yn erbyn y *gig.* Oni buasai i'r gaseg ddygwydd d'od yn rhydd, hawddach dychymygu na darlunio yr hyn a gymmerasai le. A phe buasai y gaseg oedd dan y *gig* heb droi yn ei hol, neu, pe dygwyddasai iddi ddymchwelyd y *gig* wrth wneyd hyny, buasai y canlyniadau yn rhwym o fod yn dra sobr. Yr oedd braich y drol wedi myned drwy gefn y *gig*, ac yr oedd breichiau yr olaf wedi eu tori ymaith. Safai y ceffyl oedd dan y drol â'i draed blaen yn y *gig.* Ni dderbyniodd un o'r ceffylau y niwed lleiaf. Yr oeddwn i a'm chwaer yn teimlo fel rhai wedi eu dwyn o safn marwolaeth; ac yr oeddym yn deall ystyr y geiriau—"Nid oes ond megys cam rhyngof fi ac angau."

O! greadur hardd-deg odiaeth,
  Ac ardderchog yw y march;
O! mor fawr yw ei wasanaeth
  I'w berchenog—wrth ei arch,
Mae 'n ei gludo yn ddiogel,
  Ac yn esmwyth yma a thraw,
Gan ei ddwyn yn eithaf tawel,
  Heb achosi poen na braw.

Dirif ydynt yr effeithiau,
  Welir yma yn y byd,
Yn gwastadol ddilyn camrau
  Y crëadur hwn o hyd;
Amaethyddiaeth—pob celfyddyd—
  A ddynesant gyda pharch,
A datganant oll yn unfryd
  Ryw ardderchog glod i'r march.

Ond er mor odidog ydyw,
  Er mor harddwych yn ddïau,

Er mor werthfawr i ddynolryw
   Ydyw ei wasanaeth clau;
Pan y byddo wedi llyncu
   Dwfn ddigllonedd, nes bo'n llawn,
Bydd pryd hyn i bawb o'i ddeutu,
   Yn greadur erchyll iawn.

Er mwyn gweled mor ddychrynol,
   Ac mor erch pryd hyny yw,
Gwrandaw y darluniad nerthol
   Rydd yr hollwybodol Dduw :—
"Ei draed a gloddiant yn y dyffryn,
   Llawenycha yn ei nerth,
A myn'd allan wna yn sydyn,
   I gyfarfod arfau certh.

Y mae 'n diystyru arswyd,
   Ni wna hwn ei attal ddim,
Ac ni ddychwel ef un ennyd
   Yn ei ol rhag cleddyf llym:
Wele 'r saethau, wele 'r darian,
   Wele 'r ddysglaer waew-ffon,
Drystiant yn ei erbyn weithian,
   Ond pa beth ynt ger ei fron ?

Llwnc y ddaiar gan greulondeb,
   A chynddaredd erchyll ryw,
Ac ni chred yn ei wylltineb
   Mai llais croch yr udgorn glyw ;
Er y cynhwrf mawr a'r bloeddio,
   Rhuthro i ganol rhyfel wna,
Er i'r udgyrn uchel seinio,
   Yn eu plith fe dd'wed, Ha, ha."

Fe ddywed doethion byd mai gwell yw ffaith
I brofi unrhyw bwnc na rheswm maith;
Ac er mwyn dangos pa fath un yw 'r march,
Pan dan ddylanwad llid, ac wrth ei arch,
Mi draethaf hanes yr awr hon i chwi—
Rhyw hanes sydd yn bwysig iawn gan i;
Ac nid â byth yn aberth angof im',
Nes delo 'r pryd nad allaf gofio dim.
Yr oeddwn i a'm hanwyl chwaer, ryw ddydd—
A dydd a gofir genym byth a fydd—

Yn myn'd yn nghyd i Ruthyn—tref sy draw—
Ac yn y *gig* yr äem yn bur ddi-fraw.
Wrth fyn'd yn mlaen yn araf yr awr hon,
Ymddyddan wnaem yn hyfryd iawn a llon;
Heb feddwl fawr, na dychymygu chwaith,
Y deuai dim i'n rhwystro ar ein taith.
Ond och! yn awr, pa beth, pa beth, sy 'n dod?
Ofnadwy ynt—mor echrys yw eu nod!
Nis gallem dd'wedyd gair, na meddwl chwaith,
Pryd hyn, gweithredu oedd yr unig waith.
Adawyd in'—o'r *gig* ein dau yr aem
Mewn eiliad byr, heb wybod beth a wnaem.
Mae 'r cwbl drosodd—O, mor ryfedd yw!
Mae 'r cwbl drosodd—yr ym ninnau 'n fyw!
Ai byw y meirch?—pa fodd gall hyny fod?
Pob peth sy 'n fyw!—i Dduw y byddo 'r clod.
I safn fawr angau, (oni roddai her?)
Yr aed â ni ein dau mewn eiliad fer;
Ond rhyfedd yw—o'r unrhyw safn yn iach,
Y cipiwyd ni yn yr un eiliad fach!
Dy foli yn ddiolchgar wnawn, O! Dduw,
Am fod ein traed yn awr ar dir y byw:
Byth yn dy law y mae ein bywyd ni,
A diogel ydyw hyd y myni Di;
Wrth dy air Di yn unig angeu ddaw,
Ac ar dy amnaid y mae 'n cilio draw.
Dymunwn gyd-gyssegru 'n awr, O! Dduw,
Ein heinioes mwy i Ti—dy eiddo yw;
Ac O! rho in' galonau ar bob pryd,
I'th wasanaethu tra b'om yn y byd.

## Y BORE.

Fel un a wel neidr yn d'od i'w gyfarfod,
Neu megys drwg leidr, â'i obaith ar ddarfod,
Ffy 'r t'wyllwch anferthawl, yn chwim ei fynediad,
Goleuni prydferthawl ddilyna'i gerddediad;
I'r claf y daw cysur, y nos sy 'n myn'd ymaith,
A d'od yn dra phrysur mae'r dydd—hoff gydymaith.

Yn awr y mae 'n codi brif genad y borau,
Gan lawen ddynodi agoriad nef ddorau:—
Yn gyntaf, mae 'n ysgwyd ei brydferth adenydd,
'R un modd â'i addysgwyd,[1] ac yna 'n ysblenydd,
Fel hyn er dihuno pawb oll y mae 'n canu—
"Deffrowch oll er uno i serchog foliannu
Ein Duw mawr—O! syllwch ar fawredd ein breintiau!
Trwy oriau tywyllwch fe 'n cadwodd rhag heintiau,
Drwy agor ei ddorau mewn rhyfedd ddaioni,
Ac anfon y bore, mae 'n awr yn ein lloni;
Am iddo mor dyner ofalu am danom,
Ei glod a ddilyner, ei enw foliannom."
Wrth adsain ei garol, y pluog gantorion
Ddeffro'nt yn hygarol; a'r swynol gerddorion
Yn awr a ddechreuant eu mwynion emynau,—
Mor rwydd y chwareuant eu hanwyl delynau!
Mae rhai 'n fwy trydanol i glustiau 'r gwrandawydd,
Eu doniau 'n wahanol—yr un yw eu hawydd.
Hoff iawn genyf fod yn rhyw ddystaw glustfeinio,
A gwrandaw pob nodyn yn cael ei iawn seinio;
Wrth fod yn wrandawydd o'u cerddi mwyn-weuol,
Fe 'm llenwir o awydd at weddi foreuol:—
"O Dduw! dy addoli mae pobpeth crëedig,
Dysg finnau i'th foli â gwedd ostyngedig;
'R wy 'r awrhon yn talu fy ngwael ddiolchgarwch,
Am iti ofalu, mewn rhyfedd hawddgarwch,
Am dy wael grëadur, drwy 'r nos a'i du-leni,
A minnau 'n bechadur sy 'n llawn o drueni:
Mewn hedd cefais gysgu dan gysgod d' adenydd;
Rho'th Ysbryd i'm dysgu ro'i mawl mewn llawenydd.
Mor hawdd y gallasai yr haint f' amddifadu
O'm bywyd, pe buasai i ti, Dduw, fy ngadu:
Dy foliant a leisiaf am bob rhoddion bydol,
Ond eto taer geisiaf fendithion ysbrydol.
O, Arglwydd! dilëa fy mhechod ffieiddiol,
Ac ynof, O! crëa lân galon sancteiddiol.
I'th ofni 'n mhlith dynion, bob rhan o'r dydd yma,
Wrth dy orch'mynion fy meddwl llwyr g'lyma.
I bawb yn unigol o'r teulu cyfrana
Dy ras gwaredigol; bob ennyd meddianna
Yn gwbl eu calon; drwy 'r dydd wedi hyny,
Er pob rhyw ofalon, cânt wrthyt Ti lynu.

[1] Gan ei Greawdwr.

Bendithia 'r personau wy'n garu 'n mhlith dynion;
A llawer o ddoniau bendithia 'm gelynion;
A'r cyfan wy 'n erfyn, er mwyn Un fu 'n dodi
Rhyw haeddiant diderfyn ar gyfer ein tlodi."

Trwy 'm ffenestr edrychaf, tra dengys y borau,
Im' dlysion gorwychaf, hyd euraidd ororau:
Caf weled y tlysau a hoffa fy nghalon,
Cyn agor y drysau i'r byd a'i ofalon.
Canfyddaf serth fryniau, yn llawn aruchelder,
A gwelaf rosynau, 'n deg iawn mewn iselder:
Mi welaf afonydd yn hardd ymddolenu,
A'r haul dysglaer llonydd ar bob un yn gwenu:
'R wy 'n gwel'd y wenynen yn gweithio ei gorau;
'R wy'n gwel'd y gelynen, sy 'n lâs drwy'r tymmorau;
Y bore bywydol, y naill geir brysuraf,
A glesni hyfrydol y llall welir buraf,
Gan arogl rhosynau trwm-lwythog yw'r awel,
Ac arno 'r wyf finnau yn gwledda yn dawel.

Bob amser mae swynion yr ardd yn fy synu,
Calonau rhai mwynion byth wrthynt sy'n glynu;
Ond eto 'n y boreu fe'u gwelir yn burach;
Cawn yn ei wawl goreu bob swyn yn eglurach.
Mae 'r ardd yn llawn gwenau, yn brydferth a thawel;
Têg ddawnsio mae 'r prenau wrth fiwsig yr awel.

Mor hynod dêg henyw y lili iselaidd,
Darluniad o'r fenyw fedd swynion angelaidd;
Sef Elen, a ddenai ar unwaith fy nghalon,
Bydd un o'i hoff wênau yn lladd pob gofalon.

Y defaid a harddant y dyffryn a'r mynydd,
Bugeiliaid a chwarddant wrth weled eu cynnydd:
Y gwybed bach, prysur, sy 'n dweyd am y goreu,
Cyn lawned o gysur a thegwch yw 'r boreu.
Yr 'hedydd bach yna a wresog addola,
Yn gyflym esgyna at y Gwrthddrych a fola;
O'i glywed cyn wyched, yn mwyn delynori,
Fe'm llenwir o syched am uno i glodfori:—
"O! Dduw, mawr Grëawdwr, pob gwrthddrych crëedig,
O! Dduw, doeth Lywiawdwr, pob beth sydd weledig;
O! Dduw yr hwn ddysgaist afonydd i redeg,
Ac hefyd addysgaist yr adar i 'hedeg;

A roddaist fath awen i'r 'hedydd i ganu,
Dysg finnau i'th lawen a'th serchog foliannu;
A dyro i'm calon oleuni ysbrydol,
Ac er fy holl alon, caf fore hyfrydol."

Draw, draw, mae y gweithiwr iach gwrol,
I'w weled yn croesi y ddôl;
Mae 'n myned yn mlaen yn arwrol,
Heb aros i edrych o'i ol;
Ond eto fe wel ryfeddodau,
Ei Grëwr i'w olwg a ddaw,
Ac ynddynt mae 'n cael eglur-nodau
Fod awdwr y bydoedd ger llaw.

Clodfori yr Arglwydd am weled
Un bore yn rhagor y mae,
Ac yna mae 'n llefain, "O, deled
Dy gariad i'm calon yn glau;
Os caf di yn gyfaill, Ior grasol,
Fe gaf y peth mwyaf a gawd,
A byddaf yn frenin urddasol,
Er nad wyf ond gweithiwr tylawd."

I odro mae 'r forwyn hawddgarol
Yn tynu at y weirglodd sy draw;
A seiniau ei chanig hygarol,
Siriola bob gwrthddrych ger llaw;
Wrth weled ei phrydferth gerddediad,
Wrth wrandaw ei nefol fwyn gân,
Fy meddwl rydd gyflym ehediad
At Elen, hoffusawl fun lân.

Bu anian fwyn dlôs yn dyoddef erch bangau,
Drwy oriau y nos, ar syrthio i angau;
Ond er ei holl aeth, a'i hechrys ddirywiad,
Y boreu a ddaeth â rhyfedd adfywiad.
Mae anian 'r awr hon fel pe wedi 'i hail-eni,
Nis caed hi 'n fwy llon, er cwymp ein rhieni;
Tarewir pob tant o'i hudolwych fawr delyn,
Siriolir ei phlant gan ei gwas—yr haul melyn:
Mae "llygaid y dydd" oll wedi ymagor,
A'r diog y sydd yn cysgu yn rhagor.

*Ond* nid ydyw 'r boreu, er teced ei huan,
*Ond* peth ar y goreu, i ddarfod yn fuan;

Ac ni cha prydferthwch y bore ei daenu,
Nes caffo anferthwch y nos ei ragflaenu;
At wlad lle mae 'm Iesu 'n tywynu mae 'm tyniad,
Lle na bydd yn nesu i'w Bore derfyniad;
Tywyllwch ni feiddia fyn'd yno—cyflawnder
O oleu a dreiddia o Haul pur Cyfiawnder.
'R ol cyrhaedd ei glenydd, fe leuwir fy nghalon
A pherffaith lawenydd, yn lle blin ofalon:
O, henffych i'r boreu, fy llygaid a wleddant
Ar ddi-ail ororau lle pawb orfoleddant!

## Y DDUWIES DEG.

'R OL bod drwy 'r dydd â'm bron yn brudd
A hyn o herwydd blin ofalon;
Can's twrw 'r byd a ro'i o hyd
Rhyw boen anhyfryd i fy nghalon.

Mi ês i'r ardd—lle hoff gan fardd,
Llawn blodau hardd a theg friallu,
Ac eistedd wnes dan gysgod ges,
Gan herio 'r gwres a'i ddirfawr allu.

A cher fy mron yr adeg hon,
Afonig lon a deithiai 'n heini';
A'i hodlau 'n dwyn rhyw ryfedd swyn—
I'm Hawen fwyn gwnai dyner weini.

Pan oeddwn i drwy rym ei si,
Yn hedeg fry mewn myfyrdodau,
Daeth ger fy mron rhyw dduwies lon,
Un dirion fel y tirion flodau.

Teg yw ei gwedd, a llawn o hedd,
Ond nid yn sedd i fawr lawenydd;
Er hyn gan hwyl boddlonrwydd gŵyl,
Yn hynod anwyl i'r awenydd.

Hardd yw ei phen dan goron wen
Y perlawg wlith o'r nen ddisgyna;

Esmwythdra llon a hedd i'r fron,
Fel têg forwynion a'i dilyna.

Rhoes llyw y dydd i anian brudd,
A'i heirddion feusydd deg ffarweliad;
Pan welai 'n hy' y fenyw gu,
Mor fuan darfu ei ymweliad!

Y lili wen a blyga 'i phen,
A chwsg uwch ben sydd yn ei gwylio;
A'r gweithiwr draw, ei gaib a'i raw
A ddyry heibiaw gan noswylio.

Canfyddaf e'r awrhon yn croesi y ddôl,
Gan adael ei drymion orchwylion o'i ol;
'R ol bod drwy y diwrnod trafferthus yn gaeth,
O rwymau ei lafur, diengyd a wnaeth.

A! weithiwr llafurus, blinedig yw ef,
Ei hwyrol deg emyn esgyna i'r nef;
Pan genfydd o hirbell ei fwthyn bach gwyn,
Ei galon a lama 'n ei fynwes pryd hyn.

A mawl yn ei hwyrol fwyn emyn a rydd,
Am fwthyn i'w derbyn 'r ol llafur y dydd,
Yn yr hwn y ca groesaw mil purach bob pryd,
Na 'r uchel foneddwr mewn palas mwy drud.

Ei blant bach a redant i'w gwrddyd yn llu,
Gan roi am y cyntaf groesawiad pur gu;
Wrth wel'd eu gwynebau a'u cariad mawr iawn,
Ei galon o serchus deimladau sy 'n llawn.

Pan yn ei wael fwthyn, mor anwyl a fydd
Hoff wenau ei briod 'r ol llafur y dydd;
Drwy rym ei sirioldeb diflana 'r awr hon
Ei deimlad blinedig, a gwena yn llon.

Y dduwies hon, sy ger fy mron,
A ddyry obaith llon i'r gweithiwr—
Tra gweithia 'n flin mewn gwresog hin;
Ond nid mor hoff ei rhin i'r teithiwr.

Wrth wel'd ei gwedd, y dydd dihedd
A ffôa 'n rhyfedd nes diflanu;

O flaen gwedd wâr y fun ddi-fâr,
  Nis gall yr adar bach ddim canu.

Dystawrwydd syn dros ddôl a bryn,
  A geir yn dilyn ol ei sodlau ;
O flaen ei gwawr dystawa 'n awr,
  Bob seiniau trystfawr a phob odlau.

Ond caniatäu wna 'r fenyw glau,
  Brudd-donau hoff yr awel,
Yr hon heb ddig ar delyn gwig,
  Rydd fiwsig tyner tawel.

Ond ust! beth sydd ar awel rydd,
  Yn seinio 'n brudd ?—ai 'r hwyrol glychau ?
Tyr'd, Awen lân, i eilio cân—
  Mae 'm bron ar dân gan feddylddrychau.

"Hoff genyf fi yn min y nos,
  Pan fyddo anian a'i gwrthddrychau,
Yn huno 'n dawel ac yn dlos,
  Yw clustymwrandaw ar y clychau.

Ni waeth pa glychau, os y rho'nt
  Rhyw gwynfaniadau tra galarus.
Effeithiol odiaeth—nes y bô'nt
  Fel rhyw brudd fodau edifarus.

Ac wrth eu gwrandaw 'n awr 'r wyf fi,
  Yn esgyn fry mewn meddyl-ddrychau,
Nes gadael byd a'i ffugiol fri,
  Yn mhruddaidd swyn y pruddaidd glychau.

A chodi wnant fy enaid gwan,
  O gyrhaedd pobpeth gau llygredig,
I mewn i ddysglaer, ddysglaer fan,
  Heb ddim o'i mewn yn ddarfodedig."

O! glychau prudd, eu tônau sydd
  I'r dduwies beunydd yn dderbyniol ;
Hoff yw eu swyn, fel dystaw gŵyn
  Yr awel fwyn, rydd lef erfyniol.

O dduwies bri! mor dawel hi—
  Ni rodda gri wrth lywodraethu ;

Heb sain na bloedd hi gaiff ar g'oedd,
  Fil miloedd i ei gwasanaethu.

Y lleuad wen, brenines nen,
  A gwên orlawen ddaw i weini
I'r dduwies glau, gan roi 'n ddïau,
  Ar hyd ei llwybrau deg oleuni.

A hwythau 'r sêr sy'n dweyd yn ber
  Am allu Nêr, genadon mwynion,
Mor deg uwch ben yw 'r ddysglaer nen,
  Adfywia 'm hawen gan ei swynion.

Pwy wel yn wir ei lluoedd pur,
  Heb gofio 'r Awdur bendigedig?
A ddeil, ger llaw, y bydoedd draw
  Ar gledr ei ddwylaw ddirgeledig?

Yn ngoleu gwiw y lloer mor gain,
  Y gwybed bychain a chwareuant;
Rhosynau blydd yn huno sydd,
  A "llygaid y dydd" o'm deutu geuant.

'N awr heibio 'n chwim ystlum a aeth,
  Ar odiaeth ysgafn edyn;
Cyhoeddi mae hir wae o hyd,
  I fywyd y gwybedyn.

Olwynion drud holl fasnach byd,
  Fu 'n troi yn ddiwyd er y borau,
'N awr ar bob tu yn sefyll sy,
  Fel pe yn rhydu mewn trysorau.

Gorphwysdra pur yn lle eu cur,
  Ga meibion llafur—rai blinedig;
Y fenyw glau sydd wedi cau
  Eu holl amrantau yn seiliedig.

Wedi y dêl, nid casglu mel,
  Ond huno wnel y gwenyn prysur;
A theulu dyn yn swrth eu llun,
  I 'stafell hûn yr ânt am gysur.

A gwedd ddinam ar fron ei fam,
  Mae 'r plentyn—pam nas gall e wylaw?

Cyn d'od o'r fûn, nis gallai hun,
  Ddim dal y plentyn yn ei ddwylaw.

*   *   *   *   *

Y dduwies gu, â'i swynion lu,
  'N awr oedd yn meddu fy serchiadau;
A llamu 'n llon wnai 'r galon hon,
  Wrth wel'd ei mwynion ymddygiadau.

Ac wrthi hi y d'wedwn i,
  "O! dduwies bri uwchlaw daiarol,
Yr ydwyf fi 'n dy garu di,
  Wyt imi 'n lili anghymharol.

Dy gwmni cûn, anwylaf un,
  Uwch pobpeth sy'n hyfrydol,
O gyrhaedd pob rhyw erwin 'stŵr
  A phob rhyw gynhwr' bydol.

Mab Abram hoffai 'th gwmni di,
  Ac Un oedd well nag ef,
Pan rodiai ar ein daiar ni—
  Sef Iesu, brenin nef.

Gan hyny—A! nid rhyfedd yw,
  Mai anwyl wyt bob pryd,
I hoff ddilynwyr Iesu gwiw,
  Tra yma yn y byd.

Y Cristion yn dy gwmni wna
  Anghofio pob rhyw gur;
A'i enaid ef mewn eiliad ä
  I gartref heddwch pur.

Nid rhyfedd chwaith yw fod y beirdd,
  Yn hoffi 'th swynion cain;
Fe 'u gwnaed i ganfod pethau heirdd,
  Ac i ddarlunio 'r rhai'n.

O, dduwies anwyl! gad im' fyw,
  Yn agos it' o hyd:
Ac mi wareiddiaf ddynolryw,
  A swyn dy wyneb-pryd.

Mil miloedd ar dy aswy draw,
  Gânt esmwythâd a hedd;

Ond yma ar dy ddeheu law,
  Mae 'r awen ar ei sedd.

Fan yma ydyw nefoedd hon,
  Fan yma mae 'n ei bri;
Fan yma hedeg wna yn llon,
  O gyrhaedd ein byd ni.

A phan yn bod uwchlaw y rhod,
  Hi fydd yn canfod hardd olygfa,
A'i nefol urdd dan fythol wyrdd,
  Y gyra fyrdd i bêr-lewygfa.

O! gwrando 'm cwyn, O! dduwies fwyn,
  Mewn tyner swyn gad im' gusanu
Dy anwyl rudd, yn llon bob dydd—
  Mor ddedwydd y gwnaf beraidd ganu!

Pan o dan bwys dysgwyliad dwys
  Am gael ei glwys atebiad,
Cai gobaith da fy nghalon glaf,
  Erchyllaf wrthwynebiad.

Un echrys ddaeth i beri aeth,
  Yn sydyn odiaeth fe 'n gwahanodd;
Y fenyw dlos wrth wel'd y nos,
  Fel tarth ar rôs, ar hyn ddiflanodd.

Ond am y briw drywanai 'm bron
  Yr ennyd hon, nis gallaf draethu;
O! pa mor hy' 'r oedd y teyrn cry',
  Sef galar du 'n fy llywodraethu.

I'm gwely 'r es, â'm bron yn bres,
  Oedd hynod gynes awr cyn hyny;
A galar syn â'i echrys wedd,
  Oedd fel y bedd i'm hamgylchynu.

Cwynfanu wnawn yn effro iawn,
  Am gyflawn hirfaith oriau;
O'r diwedd, cwsg, mewn tyner fodd,
  Agorodd im' ei ddorau.

Ac yna 'n nghûn ystafell hûn
  Y gwelwn lun y fûn orfwyna;

A'i thyner ben dan goron wen
  Y perlawg wlith o'r nen ddisgyna.

Gan faint oedd swyn y fenyw fwyn,
  Cyn dweyd fy nghwyn ês i'w chusanu:
O! 'r siom a ges, can's deffro wnes,
  A thyna 'r dduwies yn diflanu!

Drwy ddydd oedd lawn o dwrf cas iawn,
  Yn wael yr awn heb waredigaeth;
Gan roi o hyd ochenaid ddrud,
  Ar allor byd y siomedigaeth.

---

## YSBRYDION CYMRU.[1]

"Mor ynfyd yw dyn, yn yfed anwiredd,
Gan dyngu 'ngwydd pawb ei fod e'n wirionedd."

J. EVANS *(Homer)*, GELLIFOR.

YN oes ein teidiau—yn yr amser gynt—
'R oedd pawb yn byw â'u penau yn y gwynt;
Heb feddwl am fyd arall, nac am Dduw,
Nac am ei ddeddfau tra 'n y byd yn byw.
Nid ydoedd Ymneillduaeth "*gâs*" yn awr,
Ddim wedi dechreu ei diwygiad mawr:
Ond crefydd y llywodraeth yn ei bri,
Oedd yn rheoli 'n gwlad freintiedig ni:
O dani yn llywyddu Cymru ferth,
Ceid anwybodaeth anwyl yn ei nerth;
A hwn a phechod yn ein dedwydd wlad
Oedd yn llywyddu 'n fedrus a di-frad
Fyddinoedd dysglaer, aml iawn eu rhif,
Er nad mor aml a gronynau 'r llif:

[1] Testyn cadair "Ail Eisteddfod y Gegin," a gynnaliwyd yn nhref Llynlleifiad, yn 1857. Barnwyd y Bryddest hon yn oreu, ac yn dra theilwng o'r wobr; sef, holl waith Shakspeare. Rhoddai y beirniad dysgedig ganmoliaeth uchel iddi yn ei feirniadaeth. Cadeiriwyd cynnrychiolydd yr awdwr yn ol "braint a defawd Beirdd Ynys Prydain." Gwell gan yr awdwr fil o weithiau fod yn gadeirfardd "Ail Eisteddfod y Gegin," na bod yn lle y rhai a gadeiriwyd yn Eisteddfodau ———. Ond ni waeth heb eu henwi: y mae eu henwau, ysywaeth, yn ddigon adnabyddus.

Ac o lygredigaethau ffurfid hwy:
Am un o'r cedyrn hyn y soniaf mwy—
Sef, Ofergoeledd—rhyfedd iawn yn wir
Oedd ei ddylanwad yn mhob rhan o'r tir.
Nid oedd na gwr na gwraig drwy 'r cyfnod maith,
Na mab na merch, na phlentyn bychan chwaith,
Heb fod dan ei ddylanwad ef bob pryd,
Yn credu ei chwedleuon oll i gyd.
O dan y llywydd hwn 'r oedd byddin nerthol—
Nis gellid cyfrif byth ei lu anferthol;
Ysprydion gelwid hwynt.—O! mor ofnadwy
A fyddai 'r bodau hyn pan yn weladwy:
'R oedd gweled un yn gwneyd i'r dewraf grynu,
Yn fferu 'i waed, yn gwrychu 'i wallt i fyny!
Ond eto, hoffder penaf pob dyn byw,
Oedd son am danynt—onid rhyfedd yw?
Y cymmydogion wnaent ymgasglu 'nghyd,
Nosweithiau gauaf at yr aelwyd glyd;
A llanciau 'n gymmysg â lodesau glân,
A geid yn ddedwydd rai o gylch y tân;
Cyfoethog a thylawd, yn llu pur gryno,
A'r hen a'r ieuainc a ganfyddid yno;
A son am 'sprydion erchyll byddent hwy,
Gan draethu 'u hanes, nes methu traethu mwy.
Fe allai mai tylwythion teg, ond erch,
A fyddai testyn pregeth mab neu ferch;
A'r lleill yn gwrandaw 'n ddwys ac astud oll,
Heb adael i air pwysig fyn'd ar goll.
O, hyfryd adeg! un o'i hail ni fydd,
Pob mynwes yn ein gwlad yn llawn o ffydd;
Ffydd mewn tylwythion ac ysbrydion duon,
Y rhai am oesoedd yn ein gwlad a fuon'
Yn llenwi pob bryn uchel a phob pant,
Yngwibio drwy bob llwyn, yn 'sgrechian yn mhob nant;
A phob ryw annedd lle bu farw dyn,
Oedd lawn o ryw ysbrydion erch eu llun:
O, ddedwydd gyfnod! yn ei ol dychweled,
Fel caffwyf fi yr uchel fraint o'i weled;
Mi roddwn gan punt, pe bai'r fath beth geny',
Am weled y fath gyfnod hardd eleni;
Ond O! ni chaf, er cymmaint yw fy awydd,
Ddim gwel'd yr adeg ddysglaer yn dragywydd;

Ond drwy ddrych mawr hanesiaeth edrych wnaf,
A golwg wanaidd ar ei bri a gaf,
Yr hyn a rydd lawenydd yn fy mron,
A'm calon dani fydd yn llamu 'n llon.
Edrychaf ar y cwmni wrth y tân,
A rhoddaf beth o'u hanes yn fy nghân,
Fel bo i'r oesau ddeuant eto 'n llu
Gael cip-drem ar yr adeg ddedwydd fu.
Yn awr, mae 'm golwg ar y mwyn gwmpeini,
Ac ofergoeledd welaf yn eu gweini;
Eu porthi mae yn brysur â'i danteithion,
A phorthi 'n gwlad wnaeth ef am oesau meithion;
Bwyta wna 'r hen-wr, bwyta a wna 'r llanc,
Fel y bwytânt, cynnyddu a wna 'r wanc.
Mae yn arferiad gwerthfawr, teg ei wedd,
I'r naill roi bwyd i'r llall yn mhob rhyw wledd,
Ac felly yn y wledd wyf arni 'n traethu,
Pawb yn ei dro sy'n parod wasanaethu.
Yn gyntaf oll, dechreua Twm y Coed,
Y llencyn diniweitiaf gaed erioed;
A gwasanaetha 'r cwmni yn ddigoll,
A dyma 'r dogn ddyry iddynt oll:—

"Yr oeddwn i y dydd o'r blaen
Yn pasio heibio Pen y Waen;
Nid oedd ond tri o'r gloch pryd hyny,
A'r t'w'llwch yn fy amgylchynu,
Pan y gwelwn i ysgyfarnog
Yn dyfod ataf heb fod yn ofnog:
Pan yn fy ymyl, troes mewn mynyd
Yn gi ofnadwy a dychrynllyd;
Ond wele 'r ceiliog ar hyn a ganodd,
A'r ci mewn eiliad a ddiflanodd:
Adre'r es yn wyllt fy nghamrau,—
Myn cebyst, rhedais nerth y carnau."

Yr araeth hon a roddodd fawr foddhâd
I bob rhyw fab a merch, a mam a thad.
Y nesaf a lefara yw Wil o'r Ddôl,
Yr hwn sy lencyn cadarn a di-rôl;
Llefarai, 'r wyf yn sicr, yn fwy hyawdl
Na 'r bardd cadeiriog pan ddarllena 'i gu-awdl.
Rhydd yntau hanes ysbryd Pen y Waen,
A dyma fel y d'wed ei chwedl blaen:—

"Echnos yr oeddwn innau 'n pasio
Pen y Waen yn bur ddigyffro;
Ond pan oeddwn wrth y buarth,
Gwelwn glamp o gi yn cyfarth;
A daeth yn mlaen fel peth cynddeiriog,
A thyna fe 'n myned yn 'sgyfarnog,
Ac wed'yn aeth i'r ddaiar neu i rywle,
Ac nid yw f' enw 'n Wil, os nad ês bron i ffitie."

Ni chafwyd araeth well na hon erioed,
A chysson oedd âg araeth Twm y Coed;
A cha gan bawb dderbyniad gwresog odiaeth,
Nes y dechreua 'r nesaf ar ei araeth;
Enw yr hwn yw Gruffydd Tan y Graig,
A harddach llanc ni welodd llygaid gwraig;
Fel hyn yn gymhwys y llefara 'r dyn,
(Gresyn na cha'ech ei glywed ef ei hun):—

"Ryw noswaith yr oeddwn yn myn'd i'r glo,
Ond wrth hen efail Deio 'r go',
Mi welwn ladi wen gerllaw,
A chanwyll oleu yn mhob llaw;
Yn eistedd ar gadair ddwyfraich fawr,
Bump o latheni uwchben y llawr.
Mor erchyll ydoedd ei hedrychiad!
Mi a'i cofiaf tra bo ynof chwythad.
Ond O, ar hyn 'r oedd y ceffylau,
Yn rhedeg fel d—l—d nerth y carnau;
A minnau fel hen g—th—l redais
A rywfodd hefyd fe'u canlyniais:
Rhedasant amser maith cyn peidio—
Hai lwc na redant felly eto:
Mae'n rhyfedd fod pobpeth sy'n meddu bywyd,
Yn 'nabod ysbryd yn y munyd!"

Y nesaf sydd yn dechreu traethu 'i lên,
Yw Robin, mab i Tomos o'r Tŷ Hen;
Y llencyn goreu, meddynt hwy, am garu,
A welodd Lloegr, a Llanrwst, a Chymru:—

"Yr oeddwn ryw noswaith yn myned i garu,
Nid ydwyf yn cofio pa bryd y bu hyny;
Beth bynag, yr oeddwn yn myn'd dros y gamfa,
Lle bydd ysbryd Siôn Owen yn eistedd yn 'smala;

Ond cyn im' fyn'd drosti mi gefais fy nghipio,
Am filltir 'r wy'n sicr y cefais fy nghario;
Pan gefais i wed'yn roi 'm traed ar y llawr,
Ar fengoch, mi redwn yn gynt nag un cawr;
Myn cebyst, yr oeddwn yn teithio cyn 'sgafned,
Na wyddai'r hen ffordd fy mod arni 'n cerdded,
Arosais i garu nes canai 'r ceiliogod,
I ddangos fod dydd yr hen wâs wedi darfod;
O herwydd, waeth imi gyfaddef na pheidio,
Nid oeddwn yn chwennych cael eilwaith fy nghario."

Y nesaf ydyw Tomos, o'r Ddôl Gam,
Amaethwr mawr ei barch, a gallaf dd'wedyd p'am;
Ni dd'wedodd air o gelwydd tra 'n y byd,
Un gonest iawn a geirwir fu bob pryd:—

"Ar ol bod yn y farchnad,
Yn Rhuthyn dro yn ol,
Tramwywn tuag adref,
Yn heinif a di-rôl:
Nid oeddwn i 'n siŵr ddigon,
Wrth ddyfod ar fy nhaith,
Yn meddwl am ysbrydion,
Nac am dylwythion chwaith.

Pan oeddwn yn d'od heibio,
I'r goedwig fawr y sydd
I'w gweled ar yr aswy,
Cyn cyrhaedd tŷ Huw 'r gwŷdd,
Beth welwn, ond Tylwythion,
Yn dawnsio o gylch rhyw bren—
Os wyf yn d'wedyd celwydd,
Mi hoffwn gael tori 'mhen.

O! 'r pethau bychain rhyfedd
Oedd y Tylwythion hyn,
Eu hyd o gylch dwy droedfedd,
A'u gwisg o lian gwŷn:
Hwy ddawnsient drwy eu gilydd,
Yn rhyfedd iawn o hyd;
Ni welais y fath ddawnsio,
Er pan wy'n byw 'n y byd.

Ryw ddiwrnod wrth fyn'd heibio
Y goedwig hon i'r dref,

Mi welwn eu hol yn dawnsio,
O gylch rhyw dderwen gref:
Pan ddygwydd i chwi ryw adeg,
Fyn'd heibio i'r lle hwn,
Cewch weled ôl y dawnsio,
Yn llwybr bychan, crwn."

Derbyniad parchus ga' yr araeth yna,
Gan bawb yn wir o'r ie'ngaf hyd yr hyna';
Nid oes un dyn faidd ammheu ei chywirdeb—
'D oes ynddi ond gwirionedd yn ei burdeb;
A llawer o sylwadau a wneir arni,
Fel ar bob araeth ddarfu 'mi gofnodi.
Fe ddywed un am ryw dylwythion fu,
Yn gwneuthur castiau rhyfedd yn rhyw dŷ:
Hwy aent â'r plant na wyddai neb i b'le,
Gan roddi rhyw blant digrif yn eu lle;
A godro 'r gwartheg oll yn hynod foreu,
A'r forwyn ni chai laeth er godro 'i goreu;

A rhoddent hanner coron,
Bob bore ar y bwrdd,
A'r wraig a'i cym'rai 'n hwylus,
'R ol iddynt fyn'd i ffwrdd;
Ond O! yr oedd y siopwraig,
Yn llawn cywreinrwydd mawr,
A hon ofynai iddi,
Yn addfwyn iawn ryw awr:—

"Gyfeilles hoff a thirion,
A dd'wedwch chwi i mi,
Pa fodd bydd hanner coron,
Bob amser genych chwi?"

Hithau, ar hyny, fel y bu wirionaf,
Addefai wrth y siopwraig fwyn dirionaf,
Pa fodd y cai hi 'r pethau teg i brynu,
Ond ni cha'dd hanner coron wedi hyny!
Cawn yma addysg werthfawr fendigedig—
Os bydd tylwythion rywbryd mor garedig
A rhoi 'n feunyddiol anrheg werthfawr ini,
O hanner coron, neu fe allai gini,
Na foed i'r gath gael gwybod am y fael,
A phery y tylwythion byth yn hael!

Ond wele 'r awrlais dd'wed ei bod yn bryd,
I bawb dd'weyd "nos dawch" wrth yr aelwyd glyd;
A'r *seiat* sanctaidd sydd yn awr yn darfod,
'R ol penu pa le nesaf ceir cyfarfod.
O! gwyn ei fyd yr hwn sy ganddo ffrynd,
A deithia 'r ffordd mae ef ar hyd-ddi 'n myn'd;
Ac, O'r trugaredd! druan oedd y dyn,
Raid fyned adref y nos hon ei hun;
Wrth bob rhyw bren fe wel dylwythion fyrdd,
A gwel ysbrydion certh yn hulio 'r ffyrdd;
Ac hwyrach caiff ei gipio gan y rhai 'n,
Drwy ffosydd dyfnion, a thrwy ffyrnig ddrain:
Un felly ydyw Ned o Bant y Llef,
Y llencyn dewraf gaed—yn ol ei feddwl ef;
Mi a'i clywa 'n awr yn gwneuthur llwon maith,
Nad yw e'n ofni dyn na d—l ychwaith:—
"A'm pastwm yn fy llaw anturiaf i bob lle,
Beth bynag ddaw i'm cwrdd mi a'i gwynebaf e."
Ond ha! mor fuan y darfydda 'r fost,
Am ei hyll ryfyg y ca' gerydd tost:
Pan yw e'n myned hyd yr hen ffordd gûl,
Fe genfydd rywbeth tebyg iawn i ful:
Wrth iddo nesu ato, ä yn fawr,
Mae 'n fwy nag unrhyw elephant yn awr!
A rhydd ysgrêch gan ddryllio 'r llawr â'i garnau,
Yn ddigon i wneyd calon cawr yn ddarnau;
Diflanu wna mewn eiliad byr ar hyny,
Ond nid heb wneyd i'r llencyn dewr ddychrynu.
Dan bwys ei fraw fe syrthiodd ar y llawr,
A thyna lle bu 'n gorwedd am dair awr:
'R ol cyrhaedd adref i ei wely 'r aeth,
Ac yno bu fel rhyw garcharor caeth,
Yn gorwedd am wythnosau maith cyn codi,
A th'wyllwch angeu agos a'i gysgodi.
Ni chafwyd Ned yn cellwair wedi hyn,
Wrth sôn am 'sprydion—ond edrychai 'n syn.

## Y TYBACO A'I DDILYNWYR.

O! DEFFRO hael Awen, i ganu yn loew,
Mae genyf hoff destyn deilynga dy sylw;
O! tyred heb oedi—ni raid it' betruso—
A dywed am rinwedd diddiwedd tybaco.
Tybaco! tybaco! mae swyn yn ei enw—
Hoff gyfaill y diog, anwylyd y meddw.
Mae hwn bob ryw amser yn bleser i'r blysig,
Ac i'r dyn afiachus anfoddus yn feddyg.
Bendigaid fo enw 'r hwn gyntaf a wybu,
Pa rinwedd rhyfeddol mae hwn yn feddiannu;
Dyrchafer ei glodydd trwy bob rhyw genedlaeth,
A bydded bob pryd yn anwylyd dynoliaeth.
A'r unrhyw fri haelber a rodder yn rhwyddawl,
Gan bawb o ddynolion i'r gwron rhagorawl;
Yr hwn a ddyfeisiodd yr enwog offeryn,
A elwir gan ddynion yn bibell neu getyn.
O! getyn anwylaidd, rhyfeddol yw 'th wyrthiau,
Nis gellir byth rifo gorchestion dy ddoniau:
Nid oes unrhyw feddyg a ddeil ei gymharu
A thi, fel y tystia rhyw luoedd yn Nghymru;
Fe wnei di y fynwes sy'n fawr ei chaethiwed,
Mor rydd ag yw 'r awyr drwy 'r nefoedd agored;
Anfeddyginiaethol o'r bron yw'r clwy' yma—
'D.oes neb ond dy hunan yn medru ei wella.
Ond O! nid yn unig yr wyt yn nodedig,
Drwy feddu galluoedd digymhar fel meddyg—
Wyt fawr dy ogoniant, a byddi 'n wastadol
Yn rhoddi bri mawr i'th ddilynwyr hoffusol:
'D oes undyn yn ddyn, ond y dyn a'th groesawo,
A dyn fydd y bachgen ond dysgu ysmocio!
Ysmocio! O, dyma ryfeddol orchestwaith!
Mae 'n fri i feib Cymru—yn addurn i'n talaeth.
Paganiaid anwaraidd nad ydynt yn hysbys,
O rin y tybaco a'i swyn gogoneddus,
Ryfeddant yn ddirfawr wrth glywed o hirbell
Hanesion am bobl y cetyn a'r bibell;
Fe dania pob mynwes, dychlama pob calon,
Yr ennyd y clywant am fawredd Crist'nogion.

Yn nrych fy nychymmyg 'r wy'n gwel'd yr ysmociwr—
A phwy erioed welodd gyffelyb wir arwr?
Eistedda 'n ddigyffro—edrycha fel brenin—
Fe chwyddir ei fynwes gan urddas y cetyn;
Tyn fwg y tybaco yn araf i'w fochau,
Ac yna fe'i gollwng yn ol drwy ei enau;
O! mor ogoneddus yr olwg geir arno,
Ei goesau yn groesion, a'i fŵg yn chwrlïo,
Ei ddannedd fel uffern—ond dipyn yn dduach,
A'i boeredd na drewdod ei hun yn ffieiddiach;
Ddedwyddaf fwyn arwr! pob meddwl annedwydd
Yn mŵg ei hoff getyn esgyna yn ebrwydd,
Gorchfyga helbulon, fe heria ofidiau,
O, getyn anwylaidd! rhyfeddol yw 'th wyrthiau!

Mae 'n rhaid fod ysmocio 'n ddyledswydd rinweddol,
Bydd gweision Iehofa 'n ysmocio 'n orchestol;
A rhaid fod y gorchwyl yn llawn o sancteiddrwydd,
Cyn gallent ei wneuthur ar ddiwrnod eu Harglwydd.
O herwydd 'r ol iddynt ddifrifol bregethu
Sancteiddrwydd y Sabbath, a'n dyled i'w barchu,—
Pa fodd byth y meiddient hwy fygu mor wrol,
Heb law fod ysmocio yn orchwyl sancteiddiol?
Dywedant na ddylem drwy 'r dydd cyssegredig,
Wneyd dim ond ewyllys ein Duw bendigedig;
Na ddylem gyflawnu yr un o'r gorchwylion
Ag ydynt ddydd arall yn eithaf cyfreithlon;
Ac nas gallwn hefyd ymddyddan am danynt,
Nac hyd yn oed feddwl yn nghylch un o honynt;
'R ol d'od o dŷ 'r Arglwydd hwy seliant eu geiriau
Difrifol a phwysig, trwy borthi eu chwantau!

Ond eto, er maint ydyw bri yr ysmociwr,
Mae un sy'n ei guro yn lân—sef y cnöwr.
Hwn yma yw 'r gwron i drin y tybaco,
A myn ef gael gwneuthur y goreu o hono;
Yn deilwng o'i ryfedd alluoedd fe'i cnöa,
Mor ddoniol a'r fuwch yn cnoi gwair yn y gauaf.
Ond un peth sy'n rhyfedd, ni faidd e byth lyncu
Y sudd mae ei enaid mor ddirfawr yn garu!
Fe 'i poera o'i amgylch yn eithaf digynwr',
A myrdd mwy cythreulig na 'i gyfaill y 'smociwr;
Ac hefyd wrth gadw y Sabbath sancteiddiol,
Mae 'r cnöwr yn curo 'r ysmociwr yn hollol:

Ca llawr tŷ yr Arglwydd gan hwn ei harddliwio,
A ffrwyth tra rhinweddol ei anwyl dybaco;
Can's mŷn yr holl ddiwrnod i wneyd ei waith aflan,
Pan yn yr addoliad fel pan fyddo allan.
A phan bydd yn myned i sobr weddïo,
O'i safn tyn ei eilun yn eithaf digyffro;
Ac yna gweddïa yn bur a nefolaidd,
Pob gair gan dybaco 'n arogli yn beraidd!
Mae 'n rhaid fod y weddi yn hynod dderbyniol,
Gan Un sydd â'i enw yn berffaith sancteiddiol,
Yr Hwn sy bob amser mor lân ei olygon,
Fel nas gall ef edrych ar lygredd drwg ddynion.

Nid oes ar y ddaiar un eilunaddolwr,
A ddeil ei gymharu am eiliad â'r cnöwr,
A garia 'n ei fochau ei eilun bob amser,
Er cael bob rhyw ennyd ei gwmni anwylber;
Ac O! pa mor ffyddlawn mae yn ei was'naethu—
Nid oes un addolwr mor gywir, 'r wy'n credu;
Mewn cystudd, tylodi, a phob rhyw helbulon,
Ei dduw a addola â'i ddannedd a'i galon!
Am wledydd paganaidd mewn syndod y soniwn,
Heb gofio mai 'n un o'r rhai hyny y trigwn!

Yn mhell o derfynau y ddaiar 'r wy 'n canfod
Hen oror erchyllaidd y pydew diwaelod;
Yn mhlith ei phreswylwyr, sydd uwchlaw eu rhifo,
Mi welaf lu ddirfawr o wŷr y tybaco—
Y cnöwyr, a'r 'smocwyr, ar drawsiau eu gilydd,
Yn rhwygo yr awyr â'u nadau annedwydd!
Y 'smocwyr gânt ddigon o fwg yn wastadol,
Can's mwg eu trueni esgyna 'n dragwyddol!
A'r cnöwyr gânt ddigon o gnoi am byth yno,
Hwy gnoant eu gilydd yn lle y tybaco!
Yn mhlith y dorf erchyll 'r wy'n gweled pregethwyr,
Fu unwaith yn enwog fel cnöwyr[1] a 'smocwyr;
Hwynt-hwy sydd yn derbyn y poenau erchyllaf,
O lu y tybaco, â'u nadau yn uchaf.
Hwy welant yr awrhon, os oedd dyn mor anfad,
A maddeu eu bai am ei fod yn arferiad,
Nid felly yr Arglwydd y ffugient ei garu,
Ac eto yn tori ei ddeddfau pryd hyny,

[1] *Fe fu* pregethwyr yn cnoi: ond y mae yn gysur i feddwl fod hyny wedi *darfod yn* llwyr, efallai, yn bresennol.

Yn porthi eu chwantau, â'u nwydau llygredig ;
Yn gwawdio mewn gweithred ei ddydd cyssegredig.
Byth, byth, ni cha 'r un halogedig nac aflan
Fynediad i'r nefoedd—y pwll fydd ei drigfan ;
A phwy sydd aflanach, pwy mwy halogedig,
Na'r hwn sydd yn gaethwas i arfer ddrewedig ?
Pwy mor halogedig a'r 'smociwr yn unman,
Oddi eithr y bwystfil sy'n *cnoi* y peth aflan ?

Y fan bydd y 'smocwyr yn hoffi cyfarfod
Yw 'r dafarn—mynedfa y pydew diwaelod ;
Fan yma y byddant yn uchel eu twrw,
Rhai 'n difyr ymgomio, a'r lleill yn rhy feddw ;
A'r cyfan yn teithio yn frysiog ac unol
I wlad na cheir meddwi na 'smocio 'n dragwyddol !
Ymuna'r tybaco a'r meddwol ddiodydd
I weithio dros Satan, a mawr yw eu cynnydd !
O ! 'r lluoedd afrifawl a yrant yn ddibaid
I uffern, i lefain yn nghanol erch ddiafliaid.
Nid oes gan y diafol well gweision yn ddiau,
A balch iawn o honynt yw brenin y fflamau.

Y 'smociwr, pan fyddo rhyw alar i'w ddilyn,
A geisia gael cysur yn nghwmni ei getyn ;
Wrth borthi ei anian fochynaidd heb gyffro,
Pob gofid am yspaid ollyngir yn ango ;
Ond ni cha byth bythoedd un cetyn i ddofi
Ei boenau diddarfod yn ngwlad y trueni !
A chaeth fydd ei fynwes bob ennyd yn ddiau,
Y fflam a'r pryf creulawn yn ysu eu gorau ;
A byth y cânt ysu, ni wel e byth getyn,
A ddyry esmwythdra i'w fynwes byth wed'yn !

# CRIST YN MARCHOGAETH I IERUSALEM.

Mae yn hysbys i'r darllenydd mai y Parch. M. Williams, M. A., (Nicander, a ennillodd y wobr am y Bryddest oreu ar y testyn uchod yn Eisteddfod Treffynnon, a gynnaliwyd Medi 30, 1857. Barnwyd y Bryddest ganlynol yn ail oreu; a dyma fel y dywedodd y beirniad, sef y Parch. W. Jones, Nevyn, am dani:—

"Y bedwerydd bryddest sydd wedi ei harwyddo *Iolo Goch*. Un dda iawn ar lawer cyfrif yw y gân hon. Y syniadau ydynt yn briodol, ac y maent yn gyffredinol yn gwisgo arddangosiad barddonol. Heblaw hyny, y mae y bryddest yn un fuddiol iawn ar dir crefyddol. Rhaid fod gan ddyn well calon, os oes gwella arni, mewn canlyniad i ddarllen y fath gyfansoddiad. Arfera yr awdwr, yn mysg amrai fesurau ereill, yr un diodl; ond llifa yn bur rwydd, ac y mae y cyfansoddiad yn hynod o eglur, ac nid yw, i'n barchwaeth ni, yn tynu oddiwrth deilyngdod y bryddest. Bardd sydd yn feistr lled dda ar ei orchwyl yw *Iolo Goch*, ac nid ychydig o foddhâd ydym wedi ei gael yn ei waith. Buasem yn ei farnu yn fuddugol, yn ddiau, ond am fod pryddest arall yn fwy prydferth ar lawer cyfrif, nag, hyd yn oed, yr eiddo ef. Canys er ein bod yn synied yn uchel am y gân yn gyffredinol, ac yn hyderu nad â ar ddifancoll, eto, y mae ar ei gwyneb hardd hi rai anafau: ac erbyn ei phwyso yn nghlorian fanwl llenyddiaeth, y mae yn troi yn ei herbyn. Hynod o sobr yw y llinellau diweddol yn y bryddest dra ragorol hon:—

'Cawn weled Iesu eto yn marchogaeth,
Pan gryn o'i flaen golofnau 'r greadigaeth,
Ond nid ar asyn y daw ef pryd hyny,
Nid pryfaid gwael y llwch fydd i'w gylchynu.
Yn ngherbyd y cymylau bydd yn teithio,
Ofnadwy fydd ei rwysg yr adeg hono!
Mil myrdd o saint ac engyl pur o'i ddeutu,
A wnant i fyny ei ddi-ail osgorddlu.
O! mor arswydawl fydd yr olwg arno,
I bawb sy'n awr yn byw 'n anufudd iddo!
Nis gwelir hwy pryd hyn yn gwrthryfela,
Bydd pawb yn fud, neu 'n seinio pêr hosanna,
Neu 'n llefain ar y creigiau a'r mynyddoedd
I'w cuddio o olwg brenin y nefoedd!
Ond i'r rhai sydd yn awr yn ofni ei enw,
Mor orfoleddus fydd y cyfnod hwnw.
Yn llawen llefant pan yn edrych arno,
'O! dacw fe yr hwn credasom ynddo!'
Breninoedd byd a'i fawrion uchelfrydig,
A grynant ger ei fron fel dail y goedwig;
A llawer Cristion, ŵyr pa beth yw t'lodi,
Ddynesa ato 'n llawen gan ei foli.'"

---

Mae'n d'od! sef, gogoneddus Frenin nef,
A bydoedd dirifedi—mae E'n d'od!
Ond nid yn y dysgleirwych gerbyd fu,
Filoedd o weithiau, yn ei ddwyn cyn hyn
Hyd aur-heolydd y Gaersalem fry,
Yn nghanol gorfoleddus lefau myrdd
O engyl a seraphiaid, danllyd lu,
A pher soniarus seiniau miloedd o

Delynau anghymharol. Mae E'n d'od !
Ond nid yn ngherbyd cwmwl dudew fel
Ar Sinai gynt, pan grynai 'r byd o'i flaen !
A dyn yn methu gwybod p'le i ffoi
O ŵydd yr Hwn yn holl-bresennol sydd.
Mae 'n d'od ! ond nid yn hyf farchogaeth ar
Eang adenydd corwynt grymus, nes
Mewn cyffro dirfawr i fynyddau 'n byd
Gydlamu megys hyrddod ger ei fron,
A'r bryniau neidio fel wyn defaid oll,
A braw 'n toi gwedd y greadigaeth fawr !
Ond isel yw ei agwedd addfwyn Ef,
Wrth dd'od i brynu rhyddid dynolryw,
A'i werthfawr waed ei hun. Ar asyn gwel
Un sy ryfelwr cadarn heddyw 'n myn'd
I Bozra. Nid angelion dysglaer nef
Sy 'n gwneyd i fyny ei osgordd-lu, fel
Eu gwelwyd fyrdd o weithiau—ond maent hwy
Bob ennyd yn dwys syllu arno Ef,
A lleithion yw eu gruddiau oll wrth wel'd
Eu hanwyl Frenin heddyw 'n myn'd i roi
Ei fywyd dros bechadur euog gwael !
Prif rai anwylaf ei osgorddlu yw,
Nid mawrion daiar, nid breninoedd byd,
Na'i ddoethion chwaith—ond ei ddysgyblion, sef,
Pysgotwyr Galilëa—dyma 'r rhai
A anrhydeddir fwyaf gan y nef !

Hon yw'r waith gyntaf gwelwyd E'n marchogaeth,
'R ol dod yn ddyn i wneuthur iachawdwriaeth ;
Can's ar ei draed y byddai byth yn teithio,
Gan wneyd daioni nes i'w gorff ddiffygio,
Ac felly heddyw—ond cyn iddo ganfod
Ei ryfedd bwysig daith yn cwbl ddarfod,
Wrth ddau o'i hoff ddysgyblion d'wedai 'n dyner,—
" Ewch chwi i'r pentref welir ar ein cyfer,
Ac yno gwelwch asyn wedi ei rwymo,
Yr hwn na theimlodd ddyn yn eistedd arno,
Gollyngwch ef yn rhydd, a dygwch imi—
Ac os bydd neb yn rhoi gofyniad ichwi,
Pa'm 'r ydych yn ei ddwyn ef oddiyno ?
Dywedwch, Am y rhaid i'r Arglwydd wrtho."
A hyn oll wnaent—eu rhwystro pwy a feiddiai ?
Canys awdurdod nef oedd amlwg yn eu geiriau.

*Bethphage!* ce'st anrhydedd,
  A bri annhraethol fawr!
Dy enw a ddysgleiria
  Drwy oesoedd daiar-lawr;
Am it' echwyna asyn,
  I gario Brenin ne',
I farchog tuag Edom,
  I ymladd yn ein lle.

Holl genedlaethau daiar
  Wnant son am danat ti;
Ac am dy asyn rhyfedd,
  Dy asyn mawr ei fri;
Ar ol i enwau dysglaer
  Dinasoedd fyn'd o go',
Am bentref bach Bethphage
  Bydd sôn mewn llawer bro!

Ond gwir y bydd, ryw ddiwrnod,
  Y teithiwr ar ei hynt,
Yn methu 'n lân a gwybod
  Pa le y sefaist gynt;
Ond nis gall grym llifeiriant
  O flwyddau maith diri',
Ddim cludo i ebargofiant
  Dy enw anwyl di.

Rai canoedd o flwyddau cyn d'od o'r amgylchiad,
A'i galon yn chwyddo dan nefol gynhyrfiad,
A drych prophwydoliaeth o flàen ei olygon,
Yn dangos pell gyfnod drwy 'r tywyll gysgodion,
Mor graff y prophwydai y bardd Zechariah—
"Bydd lawen, ferch Sïon, ac uchel grechwena,
Can's wele dy frenin yn d'od er llawenydd—
Mae 'n gyfiawn—ond eto mae iti 'n achubydd!
Mae 'n hynod o lariaidd, ar asyn marchoga,
Ac ar ebol asen yr isel ymdeithia."
Ar ebol na welwyd i lafur yn gweini,
Na chafodd un adeg gan iau dyn ei ddofi;[1]

[1] Mae yn debyg mai at yr "asen," ac nid at yr "ebol," y cyfeiria y geiriau "arferol â'r iau," Nid ydynt i'w cael yn y cyfieithiad Seisoneg. Barnwyf mai yr "asen" oedd yn rhwym—i'r dysgyblion ei thywys at yr Iesu, a'r "ebol" yn dilyn—ac i'r Iesu farchogaeth yr *olaf:* ond ymdrechais ddodi yr *adnodau* a ddifynir, mor agos ag y gallwn, yn ngeiriau y Beibl.

Ond rhydd a diarswyd mesurai y dolydd
A'i gampau digrifol, yn nerth ei lawenydd—
Yn orlawn o nwyfiant mor heinif gwnai brancio,
Gan herio cyfrwysder y llencyn i'w rwymo.
A phwy a fuasai mor ddewr ac mor ynfyd,
A bod yn farchogwr i hwn am un ennyd ?
Ond wele yr Iesu sydd yn ei farchogaeth,
Ac yntau yn gwbl o dan ei reolaeth !
O flaen ei Greawdwr llonyddai yn ebrwydd,
Fel Môr Galilea 'n ystorom annedwydd ;
A'r awrhon mewn syndod annhraethol fe'i gwelaf,
Yn cario 'i farchogwr yn esmwyth ac araf !

O, awen fwyn, ti fuost lawer gwaith,
Yn gwneyd arluniau gyda'r decaf iaith,
O arwyr dewrion, penaf yn y byd,
Yn hyf farchogaeth at y frwydr ddrud ;—
Ond gwel yn awr un yn marchogaeth, sydd
Yn mhell uwchlaw pob arwr fu neu fydd :
Wrth hwn diflana d' arwyr dewraf di,
Fe dderfydd eu gogoniant—gwywa 'u bri.
Yn nghanol eu holl rwysg—nid oeddynt hwy
Ond pridd—â'r pridd yr ymgymmysgant mwy ;
Ond pwy yw y marchogwr wela'i 'n awr ?
Tad tragwyddoldeb ! Arglwydd nef a llawr !
Ddwyfol farchogwr ! un o'i fath ni chaed
Ar y ddaiaren hon er pan ei gwnaed.

Gwael yw ei agwedd megys Brenin nef—
Eto fel brenin yr ymdeithia Ef—
Gwisgoedd a phalmwydd gwyrddion geir ar daen,
Ac am y goreu 'n harddu 'r ffordd o'i flaen—
O'i flaen, o'i ol, pa sain hosanna sydd,
O enau 'r dorf, yn rhwygo 'r awel rydd ?

Clywch ! eu llef ysplenydd—
"Hosanna i fab Dafydd !
Bendigedig yw Efe,
Ddaw yn enw Arglwydd ne'—
Hosanna yn y goruchafion !"

Marchog yn mlaen ! O ! gadarn ryfelwr,
Dros wisgoedd a phalmwydd y dyrfa llawn cynhwr';

Marchog mewn difôst rwysgfawredd i Edom,
I ruddo dy wisgoedd â'th waed dy hun drosom!

Marchog yn mlaen! mil myrdd sy'n croesawu
Dy ryfedd ddyfodiad yn llawen o ddeutu;
Erioed ni bu 'r adar yn pyncio mor beraidd,
Na 'r haul mor ddysgleirwych ei olwg porphoraidd.

Marchog yn mlaen! fy Nuw, fy Ngwaredwr!
Ni welodd y bydoedd erioed fath farchogwr—
Y Duw-ddyn ar asyn sydd heddyw 'n marchogaeth!
Traidd syndod drwy galon yr hen greadigaeth!

Marchog yn mlaen! O! mor ostyngedig
Yw'th agwedd drwy 'r cyfan, O! Ior bendigedig!
Seinier hosanna! can's hoffa y creigiau,
A'r bryniau o amgylch, gyd-ateb y seiniau.

Marchog yn mlaen! tua 'r ardd a'r cusanu,
A'r gwadu rydd glwyfau mwy dwfn na'r fflangellu;
Marchog at glogwyn ofnadwy Calfaria!
Fe ddua'r holl nefoedd gan faint yr ymladdfa!

Marchog yn mlaen! llu'r nef sy'n dy ganfod,
Mae braw yn teyrnasu drwy 'r pydew diwaelod;
Marchog dan sylw 'r holl fydoedd afrifawl!
Yn nglŷn â'th farchogaeth bydd syndod tragwyddawl.

Sïon anwyl! y mae achos
  Iti heddyw lawenhau;
Gwel dy Frenin mawr yn dyfod,
  Ac mewn bri yn dynesäu;
Gwel y gwisgoedd yn daenedig
  Ar ei ffordd, a'r palmwydd cu;
Clyw 'r adseiniawl gref hosanna,
  Sydd yn d'od o enau 'r llu.

Gwelwyd tonau 'r môr cynddeiriog
  Oll yn ufudd iddo Ef,
Yntau 'r gwynt a'r mellt ofnadwy—
  Ië, 'r oll o'r storom gref;
Gwelwyd côr o engyl dysglaer,
  Yn cydfoli Mab y dyn;
Heddyw 'n unig una dynion
  I roi clod i'r anwyl Un.

Da gŵyr y dyrfa, mai nid dyn yn unig,
Yw'r hwn a alwant hwy yn fendigedig;
Wrth syllu ar ei wyneb pur a grasol,
Canfyddant rywbeth llawer mwy na dynol,
A thyna 'r hyn a dania eu calonau,
Nes llifa ffrwd o deimlad drwy eu genau.

Ond *Anghrediniaeth*, fel uffernol gawr,
A feiddia ddangos ei hyll wedd yn awr!
Ni fyn e' addef Iesu 'n Frenin nef,
A beia 'r mawl a roddir iddo Ef—
Iawn y d'wed yntau—"Pe y tawai 'r rhai 'n,
Ymunai 'r ceryg mud mewn moliant pêr ei sain."
O! Anghrediniaeth, paid a bod mor ffol
Ag aros yma heddyw:—dos yn ol;
Nid dyma 'r lle, nid dyma 'r pryd, i ti
I roi dy leni tywyll dros ein llygaid ni;
Can's drwy dy leni gwelwn yr awr hon
Y pur wirionedd—mae E ger ein bron.

Yn mlaen ä'r asyn—dros y gwisgoedd ä—
A thros y palmwydd gwyrddion hefyd, ond
Nid yw yn gwybod beth arwyddocânt,
Na'r fawr anrhydedd y mae ef yn gael
O gario Hollalluog! uchel swydd!
Wael asyn, O! pa werthfawr drysor drud
Yw'th faich di heddyw! Myrdd o weithiau 'n fwy
Ei werth na'r dirif fydoedd mawrion, sydd
Yn nofio 'r ëangderau dirfawr. O!
Nid ydyw engyl nef yn cael mwy braint,
Ond hyn yn unig—gallu i'w mwynhâu.
O, asyn hoff! pwy ar ol gwybod hyn,
Sef, iti gario 'r Iesu mawr ei hun,
Pan ar ei daith i'n prynu ar y groes,
A feidda greulawn gynnyg iti gam?
Ond O, 'r wy'n teimlo f' enaid gwael yn awr,
Ar edyn pêr-lewygfa ryfedd, yn
Ymgodi fry. O! pwy wy'n gwel'd? O! pwy?
Un elwir gan wael bryfaid y byd hwn
Yn "fab y saer"—o herwydd gwelsant ef
Fel saer yn gweithio lawer gwaith cyn hyn.
Ond gelwir Ef gan luoedd tanllyd gwawl,
Yn Frenin y gogoniant, ac yn Dduw.

Pob gallu drwy y greadigaeth fawr.
O! f' enaid d'wed pwy ydyw? Ai efe
A'm gwnaeth, ac yn yr hwn bob eiliad fach
Yr wyf yn byw, yn symmud, ac yn bod?
O! ïe, fy Nghreawdwr! dyma fe!
Ond nid yn unig fy Nghreawdwr, ond
Drwy ei drugaredd anghymharol, sydd
Uwchlaw dirnadaeth dynion, ac uwchlaw
Dirnadaeth ëang y prif seraph, er
Yn gwybod dirgeledigaethau, nas
Gallai un dyn tra yn y cnawd eu dal!
O! ei drugaredd Ef! pe'r unid holl
Ddysgleiriaf ddoniau engyl gwawl i gyd,
Byth ni fesurent ei drugaredd Ef:
Canys mae 'n ddyfnach na'r dyfnderau oll,
Ac uwch na'r ucheldderau maith yn un!
Gormod i drag'wyddoldeb, gyda 'i holl
Aneirif ac angerddol ddoniau, fydd
Mynegu 'r filfed ran o'r hyn a geir
Yn ei drugaredd Ef. Ond mae un peth
Sy'n hysbys, nid yn unig i lu'r nef,
Ond hefyd i ffol bryfyn fel myfi!
Ac O! 'd oes genyf eisiau gwybod mwy.

A'r wir wybodaeth yma fydd bob pryd,
Yn fwyd a diod f' enaid tra 'n y byd,
Ac wedi ei adael—dyna 'n *unig* fydd
Fy mwyd a'm diod mewn tragwyddol ddydd.
A dyma y wybodaeth—ei fod Ef,
Sydd yn marchogaeth tua Salem dref,
Yn gyfaill, ïe 'n frawd, er maint ei fri,
I adyn gwael, dirmygus, fel myfi!
Drwy ei drugaredd y mae hyn yn bod—
Am ei drugaredd seiniaf fythol glod!

Fy Iesu anwyl! i ba le y mae
Heddyw yn myned? Hefyd i ba beth?
Mi wn pe buasai 'n myn'd i rifo 'r ser,
A'u galw wrth eu henwau megys plant,
Mai nid ar asyn marchogasai Ef;
Ond ar adenydd corwynt, neu yn un
O ddirif heirdd gerbydau 'r Ganaan fry.
Na, na—i Bozra, y mae Ef yn myn'd;

Ond i ba beth ? i ymladd drosom ni,
Y frwydr fwyaf fu, ac eto fydd.
Pe buasai dirif frwydrau 'r ddaiar hon
Yn un ymladdfa erch—fel canwyll wan
Yn ymyl haul y nefoedd yn ei nerth
Fuasai 'r ymladdfa hono wrth yr un
Mae 'r Iesu yn marchogaeth iddi 'n awr.
Y frwydr fwyaf eto fu erioed,
Yw hono a gymmerodd le 'n y nef,
Pan godai Satan gyda 'i fyddin erch,
Mewn balchder a chenfigen ddieflig, gan
Feiddio yn hyf ei wrthwynebu Ef.
Er mor ofnadwy oedd y frwydr hon,
Derfynwyd drwy i Satan a'i ddewr lu
Gael oll eu hyrddio i ddyfnderau gwae,
Myrdd mwy ofnadwy 'r frwydr ryfedd, a
Ymleddir ar Galfaria yn y man,
Lle mae yr Iesu yn ymdeithio 'n awr.
Prudd yw ei olwg, canys gŵyr yn dda
Am fawredd yr ymdrechfa waedlyd sydd
Yn agosau bob eiliad—ond nid oes
Dim digder yn ymddangos yn ei wedd,
Ond mae yn llawn tosturi, ac yn llawn
O ostyngeiddrwydd pur, na chaed ei fath
Mewn dyn, byth ar ol erchyll gwymp yr ardd.
Ymloewa anian, er mwyn dangos parch,
I'w Brenin mawr, o herwydd nis gŵyr hi
I ba le 'r ä, nac i ba beth mae 'n myn'd,
Onite unai gyda 'r dyrfa faith,
Edrychent arno drwy eu dagrau, er
Yn anweledig—ond gwahanol fydd
Ei gwedd, pryd hyny, pan y clyw hi Ef,
Yn mhoethder yr ymladdfa 'n llefain ar
Ei Dad, fydd yn ei adael er mor hoff!

'R ol d'od at dref Salem, mae 'r Iesu yn wylo!
A wyla 'r holl nefoedd wrth syllu 'n ddwys arno!
Ow! gwelaf ei ddagrau, yn ddafnau tryloewon,
Yn disgyn ar lwyd-flew yr asyn yr awrhon!
Mae 'r Iesu yn wylo! a'r huan a guddia
Ei wyneb â chwmwl, a diau fe wyla!
Yr hwn a wel ddiwedd pob dim cyn ei ddechrau
A wyla yn hidl—ac wylo wnaf finnau;

Os wyla yr Iesu, na wnaeth erioed bechod,
Mi wylaf fi 'n ddibaid nes myned i'r beddrod.
O! llifwch fy nagrau—nid oes genyf g'wilydd
O honoch—fe'ch gwelaf ar ruddiau 'm Crëawdydd!
Mae 'r Iesu yn wylo! O! dyma olygfa
Rydd bang drwy y cread!—holl natur a deimla
Mae 'r Iesu yn wylo! mae corau y goedwig
Un wedd a byddariaid—dystawodd eu miwsig;
Mae 'r Iesu yn wylo! mae 'r awel yn cwynfan,
Mae myrdd o gymylau yn wylo oll weithian;
Mae 'r Iesu yn wylo! mae dirif delynau
Caersalem yn llonydd—fe beidiodd eu seiniau;
Mae 'r Iesu yn wylo! pa beth sy 'n gofidio
Ei enaid, na wnaeth erioed achos i wylo?
Fe wyla dros Salem wrth wel'd ei hanwiredd,
Fe wyla dros Salem wrth weled ei diwedd.
O! diau fod dagrau yn fyth gyssegredig,
Pan redant hyd ruddiau y Duw bendigedig!
Lle gwell fyddai 'n daiar o lawer pe byddai
Yn caffael ei gwlychu 'n fynychach gan ddagrau;
Drwy 'i ddagrau yn aml fe genfydd y Cristion
Ei hardd etifeddiaeth, ei balas, a'i goron:
Maent yn mhlith y drychau rhagoraf a fedda,
I syllu ar fawredd trugaredd Jehofah.
Ni hoffwn gael myned drwy fyd y gofidiau,
Heb fedru un ennyd ymdoddi mewn dagrau;
Nid wyf yn chwennychu cael peidio ac wylo,
Nes myned i wlad na ddaw pechod i mlino:
Mae 'r hwn na all wylo yn aeddfed i gwmni
Ei frodyr, breswyliant yn nyfnder trueni.

Wrth iddo fyn'd i mewn i'r enwog dref,
Cynhyrfa Salem oll o'i weled Ef;
Ac ail i fôr dan effaith storom lem,
Yn awr yw 'r olwg ar Jerusalem.
Prysura 'r mawrion fel y gwna 'r tylawd,
Er mwyn cael syllu ar y Duw mewn cnawd;
A llawer un wrth edrych ar ei wedd,
A deimla yn ei fynwes nefol hedd.
"Pwy ydyw hwn?" yw y gofyniad ddaw
O enau 'r lluoedd aiddgar ar bob llaw;
A'r ateb roddir fyrdd o weithiau clyw—
"Y prophwyd mawr o Galilea yw."

Cawn weled Iesu eto yn marchogaeth,
Pan gryn o'i flaen golofnau 'r greadigaeth;
Ond nid ar asyn y daw Ef pryd hyny,
Nid pryfed gwael y llwch fydd i'w gylchynu.
Yn ngherbyd y cymylau bydd yn teithio,
Ofnadwy fydd ei rwysg yr adeg hono!
Mil myrdd o saint ac engyl pur o'i ddeutu,
A wnant i fyny ei ddi-ail osgorddlu:
O! mor arswydawl fydd yr olwg arno,
I bawb sy'n awr yn byw 'n anufudd iddo!
Nis gwelir hwy pryd hyn yn gwrthryfela,
Bydd pawb yn fud neu 'n seinio per hosanna,
Neu 'n llefain ar y creigiau a'r mynyddoedd,
I'w cuddio hwy o olwg Brenin nefoedd!
Ond i'r rhai sydd yn awr yn ofni ei enw,
Mor orfoleddus fydd y cyfnod hwnw:
Yn llawen llefant pan yn edrych arno,
"O! dacw fe yr hwn credasom ynddo!"
Breninoedd byd a'u mawrion uchelfrydig,
A grynant ger ei fron fel dail y goedwig,
A llawer Cristion ŵyr pa beth yw t'lodi,
Ddynesa ato 'n llawen gan ei foli.

# PENNILLION.

### Y BUDD O FOD YN HEN LANC.

Pa beth a ennillir drwy fod yn Hen Lanc?
Cael llawer o arian fe allai 'n y *banc*,
A llawer o weniaeth, a llawer o foes,
A llawer dymuniad am derfyn eich oes.

### GWAHODDIAD I GYFAILL.

Fy anwyl wir gyfaill, mor hoff genyf fi,
Yr awrhon gael dedwydd gyfarfod â thi:

Mae 'r gwyntoedd yn chwythu, mae 'r ddaiar yn llaith,
Gwna "heno fy mwthyn yn derfyn dy daith."

MARWNAD Y LLUAWS.

Yr oedd dyn yn byw mewn rhyw fan, rhyw bryd,
  Ond nid wyf yn cofio pa beth oedd ei enw?
Na pha beth a wnaeth y dyn tra yn y byd?
  Ond o unpeth 'r wy 'n sicr—fod y dyn wedi marw.

"SKETCHES OF WELSH WORTHIES," GAN COWLYD.

Gwel Cowlyd ddoniol yn gwneyd lluniau 'n awr,
O'n beirdd rhagorol, ac o'n dynion mawr;
Ond nid eu marwol gyrff geir yn y lluniau,
Na, pethau y'nt anfarwol—sef eu doniau.

TESTIMONIAL.

Wedi i gân y "Testimonial" gael ei chyhoeddi yn y *Carnarvon Herald*, ymddangosodd y pennill hwn yr wythnos ganlynol, wedi ei gyflwyno i'r awdwr.

Mi wn fod llecyn meddal
  Yn nghoryn dynolryw,
A fyn fod rhagoroldeb
  Yr unig beth nad yw;
Ac felly 'm cyfaill Risiart,
  Ti weli, o bob stwff,
Y rhagoroldeb mwyaf
  Mewn un gair bychan—*pwff*.

*Cwm Cowlyd.* DALLHUAN.

ATEBIAD YR AWDWR.

Na, gyfaill hoff, ni welaf
  Yn y gair "pwff" un awr,
Y rhagoroldeb lleiaf,
  Ond rhyw ffieidd-dra mawr:
'R wy 'n meddwl iti fyned
  O lwybr pobl gall,
Wrth farnu un sy 'n gweled,
  A thithau 'n hurtyn dall!

GWEITHIO.

Mae tri pheth yn anhebgorol,
Er mwyn gwneyd pob gorchest fuddiol,—

Gweithio 'n lew a gweithio 'n ddiwyd,
Gweithio yn rheolaidd hefyd.

### Y LLWY BREN

A anfonodd yr awdwr i *Bazaar* y Cynghrair, a gynnaliwyd yn Manchester, yn 1856. Anfonwyd y pennill canlynol gyda'r Llwy.

O! PRYN Lwy bren ar hyn o bryd,
Na fu ei bath o fewn y byd:
Dywedi 'n hyf nad yw yn hardd,—
Pa ryfedd yw?—fe 'i gwnaed gan fardd!

### WIL A MEGEN

Yn yr "Eisteddfod Ryfedd."

PA le ceid dau greadur bach
  Anwylach o dan heulwen,
Pe chwilid yr holl ddaiar faith,
  Na 'n llywaith gwpl llawen?
Matilda 'n ddiwyd iawn y sy,
  Yn magu Wil a Megen.

### PRIODI.

TRI o bethau sydd i'w henwi,
Yrant ffyliaid i'w priodi,—
Yspryd uchel, neu gybydd-dod,
Neu rhyw anystyriaeth hynod.

# CAROLAU.

## CAROL NADOLIG.

TÔN: "*Difyrwch Gwyr y Gogledd.*"

BOED ini 'n ddiwahan gydseinio peraidd gân,
  Am foddion cu i'n tynu fel o'r tân;

Am eni 'r Iesu gwiw, Gwaredwr dynolryw,
  Rhown fawl ar led—ein hoffus ddyled yw:
A phwy na chân pan gofio fe
  Yr hyn a wnaed yn Methle'm dre',
Pan ganai 'r nefol gwmni
  Am eni Ior y ne':
O! ryfedd iddo roi ei hun
  A'n natur waelaidd ni yn nglŷn;
Rhyfeddod pob rhyfeddod
  Yw 'r Duwdod yn y dyn.

O! ryfedd gariad mawr feddiannai Ef bob awr,
  Pan ddaeth mewn brys o'i nefol lys i lawr;
Newidiai 'r goron gain am echrys goron ddrain,
  A pherffaith fawl am bob gresynawl sain;
O! ryfedd iddo fyn'd yn frawd
  I bryfed gwael, er dyodde'u gwawd,—
O dan ein henbyd ddolur,
  A'n hechrys gur, fe gawd;
Fe'i clwyfwyd ef—mor ryfedd yw!
  Er gwella clwyfau dynolryw,—
Bu farw dan fawr boenau
  Fel byddai i ni gael byw!

Creawdwr byd a'r nen, a hoeliwyd ar y pren,
  Rhai gwael fel ni wnaent boeri am ei ben;
Pan roe eu Hawdwr mawr ei oes mewn loes i lawr,
  Ceid natur gu yn dwys ryfeddu 'n fawr;
Wrth wel'd Iehofah mawr ei hun,
  Anfarwol Iôr, mor wael ei lun,
Fe ymddattodai 'r creigiau,
  Ond daliai calon dyn!
A brenin mawr y dydd a droes
  Ei olwg, draw, mewn tyner foes,
Rhag gwel'd ei Luniwr purlan,
  Yn gruddfan ar y groes.

O! cofiwn oll bob pryd daw Iesu eto 'nghyd
  A sanctaidd lu, mewn rhwysg er barnu 'r byd;
Rhyfeddol fydd ei wedd, wrth eistedd ar ei sedd,
  Gan alw 'n nghyd filiynau byd o'r bedd:
Mil myrdd o heirdd goronau cun,
  A geir ar ben y dysglaer Un,

Heb ddrain i ddryllio 'i arlais,
Gan ddyfais gwaedlyd ddyn :
O ! ffown, O ! ffown, yn awr drwy ffydd
At Grist, ein Por, cyn delo 'r dydd,
Can's i'r holl rai anghyfiawn,
Ofnadwy iawn a fydd !

---

## CAROL NADOLIG.

TÔN: "*Boreuddydd.*" GAN J. D. JONES.

TRAMWYWN ar gyflym adenydd
Myfyrdod i Bethle'm yn awr,
I weled ffynnonell llawenydd
Angelion, a lluoedd y llawr:
Os canu yn fwyn ac ardderchog
Wnai engyl wrth weled eu Duw,
Ai ni roddwn ninnau fawl serchog
I'r Iesu ?—ein Prynwr ni yw.

Can's er ein mwyn ni, ei wael ddynion,
Gadawodd bob mawredd a bri,
Ac er ein mwyn ni, ei elynion,
Y daeth ef i lawr i'n byd ni;
Ac er ein mwyn ni mewn gwael feudy,
Y ganwyd e'n faban tylawd,
Ac O ! er ein mwyn y bu 'n gwaedu
Ar groesbren mewn dirmyg a gwawd.

Er gwared rhyw adyn colledig,
A llwyr felldigedig fel fi,
Y gwelwyd yr Iesu 'n hoeliedig,
A'i waed ef yn rhedeg yn lli' ;
O ! ryfedd oedd gweled Creawdwr,
A Llywiwr y bydoedd i gyd,
Yn dyfod i fod yn Iachawdwr,
I brynu pechadur mor ddrud !

O gwiliwn rhag bod yn golledig,
Ar ol y fath gymmod a gaed,

Ar ol i'n Creawdwr caredig,
Ein caru, a'n prynu â'i waed;
Os daliwn i wrthod galwadau
Yr Iesu, tra 'n galw y mae,
Ni wna ei holl ddrud ddyoddefiadau,
Ond echrys chwanegu ein gwae!

Pwy bynag a ffŷ am dderbyniad
At Iesu—ein pabell wir gref—
Gan roddi iawn serchog ymlyniad
Wrth ei orch'mynion pur ef,
Ei sylfaen bob awr fydd safadwy,
Ni chryn ei adeilad un dydd;
Er rhuo holl stormydd ofnadwy
Y fagddu—diogel a fydd!

---

# EMYNAU A CHANIADAU CREFYDDOL.

---

## DAROSTYNGIAD CRIST.

Cydunwn tra yma ar y llawr,
I roddi 'r gogoniant i gyd,
I Grist ein Gwaredwr, bob awr,
Am ddyfod i waered i'n byd;
Am adael gorseddfainc ei Dad,
I orwedd yn nyfnder y bedd,
Fel byddai i'r caethion ryddhâd,
A mwyniant tragwyddol a hedd.

Nid ydoedd dedwyddwch a chlod
Y nefoedd wen ddysglaer a hael,
Yn ddigon i'w rwystro rhag d'od
I achub pechadur oedd wael;

Gadawodd drysorau diri',
  I dd'od, er ein mwyn, yn dylawd,
I oddef pob dirmyg a chri,
  Fel byddai yn Brynwr a brawd.

O! gwelwn e 'n myn'd yn ein lle,
  I ddyoddef ar Galfari fryn,
Dystawodd cerddoriaeth y ne',
  Angelion edrychent yn syn;
O! 'r cyffro trwy natur a bair
  Ei angau, O! 'r cynhwrf sy'n bod;
Ond, diolch! fe glywyd y gair
  *Gorphenwyd* o'i enau yn d'od! 1854.

## RHODIO WRTH FFYDD.[1]

O! Gristion gwan ofnus, sy 'n teithio bob pryd
Yn mlaen trwy anialwch peryglus y byd,
Wrth gwrdd â gofidiau a rhwystrau bob dydd,
Na rodia wrth olwg, ond rhodia wrth ffydd.

Mil myrdd o elynion a gei ar dy daith,
Ac ymladd raid iti yn wrol a maith;
Ond na ddigalona, cei goncwest ryw ddydd,
Na rodia wrth olwg, ond rhodia wrth ffydd.

Pan weithiau 'n y frwydr daw dychryn i'th ran,
A'th enaid yn crynu, a'th galon yn wan;
Rho'th gred yn yr Iesu, ei gymhorth a rydd,
Na rodia wrth olwg, ond rhodia wrth ffydd.

Os bydd dy Dad nefol yn anfon ryw awr,
Geryddon i'w blentyn mae 'n garu yn fawr,
Gwna gofio mai llesol yw pobpeth a rydd,
Na rodia wrth olwg, ond rhodia wrth ffydd.

Yn fuan daw 'r adeg cyrhaeddi y fan,
Cei heddwch tragwyddol heb flinder i'th ran;
Ac O! pa mor ddedwydd cael rhodio a fydd,
Mewn cariad, heb eisieu na gobaith na ffydd. 1854.

[1] 2 Cor. 5. 7.

## Y NEF.

O! HYFRYD fan hawddgaraf,
  Yn llawn o wynfyd pur,
Lle gwelir pawb yn ddedwydd,
  Heb deimlo poen na chur;
Cysuron llawn, heb groesau,
  Sydd yn prydferthu 'r lle;
Fy enaid, O! fy enaid!
  Mor hyfryd ydyw 'r ne'!

'D oes yno neb yn wylo,
  'D oes yno neb yn brudd,
'D oes yno ddim ffarwelio
  A chyfaill hoff un dydd;
Ond cariad pur sy 'n llenwi
  Pob mynwes yn y lle;
Fy enaid, O! fy enaid!
  Mor ddedwydd ydyw 'r ne'!

Mae yn y wlad hoffusawl,
  Balasau heirdd heb ri',
A'u muriau yn dysgleirio
  A rhyw addurnol fri;
Gogoniant Duw sy 'n llenwi
  Pob trigfan harddwych gre';
Fy enaid, O! fy enaid!
  Mor brydferth ydyw 'r ne'!

Ac O! yr hoff drigolion,
  Mor heirdd y'nt hwy bob un,
Eu gwisgoedd oll yn wynion,
  A hwythau yn gytûn,
Yn seinio 'r gân felusaf
  O foliant iddo Fe;
Fy enaid, O! fy enaid!
  Mor anwyl ydyw 'r ne'!

1854.

## HIRAETH AM Y NEF.

Y MAE hiraeth ar fy nghalon
  Am gael myn'd i'r nefoedd fry;
Canu 'n iach i'm holl ofalon,
  Ydynt yn fy mhoeni 'n llu;
Canu 'n iach i lygredigaeth,
  Sy'n fy llenwi â phob loes,
A chael perffaith waredigaeth,
  O bob trallod a phob croes.

'R wy'n hiraethu am gael telyn,
  Telyn euraidd yn fy llaw,
Yn y wlad lle na bydd gelyn
  Byth o'i mewn yn peri braw;
'R wy'n hiraethu am gael gweled
  Un sydd well na'r byd i gyd—
Doed yr hyfryd adeg, deled,
  Im' gael gwel'd ei wyneb-pryd.

Rhyfeddodau dirifedi,
  Sy'n ei wedd anwylaidd iawn;
O! na bawn yn un fo gwedi
  Gweled un rhyfeddod llawn;
Un rhyfeddod—godidocach
  Yw na rhyfeddodau 'r byd,
Mae ei wên yn ardderchocach,
  Na 'r mwngloddiau aur i gyd. 1856.

---

## GWOBR Y SAINT.[1]

Ni welodd llygaid dynol-ryw,
  Ni chlywodd clust un dyn,
Y pethau a ddarparodd Duw
  I'w bobl ef ei hun.

[1] 1 Cor. 2. 9

Mae yn yr iachawdwriaeth fawr,
  Drysorau fwy na mwy;
Ond O! ni ŵyr un dyn yn awr,
  Mor helaeth ydynt hwy.

O! pe caem olwg pur di-goll,
  Ar ryfeddodau gras,
Beth mwyach ini fyddai 'r oll
  O gyfoeth daiar las?

Pe caem iawn olwg ar y llawr,
  Ar haeddiant marwol glwy',
Nis gallem dreulio ennyd awr
  Ar y ddaiaren mwy.

Nis gallai 'r corff sydd wael a gwan,
  Ddim dyodde 'r nefol wledd;
Gwnai gwrdd âg angeu yn y fan,
  Mewn syndod llawn o hedd! 185

---

## YMFFROSTIO.[1]

Fel hyn d'wed yr Arglwydd mawr,
Arglwydd nef a daiar lawr,
Nac ymffrostied doethion mwy
Byth yn eu doethineb hwy;
Nac ymffrostied y rhai cryf
Yn eu cryfder mwy yn hyf;
A'r rhai sy gyfoethog iawn,
Ac o bethau 'r byd yn llawn,
Nac ymffrostiant hwy ychwaith,
Yn eu cyfoeth mwy na 'u gwaith:
Ond pwy bynag fo un awr,
Am ymffrostio mewn peth mawr,
Yn hyn ymffrostied—ei fod ef
Yn adnabod Ior y nef;
Mai myfi yr Arglwydd yw,
Sydd yn gwneyd trugaredd wiw,

[1] Jer. 9. 23, 24.

A chyfiawnder pur bob awr
Yn y nef a'r ddaiar lawr;
Canys yn y rhai 'n, gwir yw,
Yr ymhyfrydais i, medd Duw. 1855.

## DAIONI DUW.

(CYFIEITHIAD.)

Pan gynt yr oedd brenin yr Aipht mewn llidiogrwydd
Yn erlyn hoff lwythau dewisol yr Arglwydd;
Yn furiau grisialaidd y dyfroedd o ddeutu,
A safent yn ebrwydd, gan ddirfawr ryfeddu!
A phan drwy y diffaith anialwch y teithient,
Ymddattod wnai 'r creigiau—yn ddwfr ymddylifent!
Anfeidrol ddaioni! p' le mae ei derfynau,
Pan g'leda y moroedd, pan lifa y creigiau!

## EMYN GENADOL.

O, Sion! mor fynych gwynfana,
  Anghofia am ennyd dy aeth;
A chyfod dy ben a molianna
  Dy Frenin—can's rhyfedd y gwnaeth;
Mewn gwledydd paganaidd, tra hynod
  Yw y rhyfeddodau a geir,
Nid plygu y glin i eilunod,
  Ond moli 'r Anfeidrol a wneir.

Mor hyfryd yr adeg hynodol,
  Pan droir y byd yma 'n rhyw ne',
Pob enaid o'i fewn yn wybodol
  Am Un a fu farw 'n ei le:
Oes undyn yn awr mor elynol
  I'r Iesu, ei achos, a'i glod,
Na hoffai 'i fod e'n offerynol,
  I ddwyn y fath amser i fod?

O! Arglwydd wyt Dduw digyfnewid,
A'th eiriau yr un ar bob pryd,
Cyflawna dy rasol addewid,
A roes dy drugaredd i'n byd;
Y ddaiar, sy'n awr yn llochesu
Rhyw anferth dywyllwch, ein Iôr,
Fo 'n llawn o wybodaeth o'r Iesu,
Fel y mae y dwfr yn toi'r môr.

O, Gymry! O, Gymry breintiedig!
Ystyriwch, eich dyled chwi yw,
Wrth waedd y myrddiynau twylledig,
Sy'n trengu o eisieu Gair Duw!
O! rhoddwch yn awr o'ch trysorau,
I anfon y Beibl drwy 'r byd—
Yn ddilys hyn ydyw 'r peth gorau,
A wnewch gyda'ch golud un pryd.

## AR YR UN TESTYN.

O! MOR uchel yw ein rhwymau,
I foliannu Brenin nef,
Am roi ini 'r Ysgrythyrau,
Sydd yn traethu ei feddwl ef;
Hebddynt, ni buasem ninnau,
Ond fel myrdd o ddynolryw,
Sydd yn trengu 'n awr o eisiau
Gwybod am y Prynwr byw.

O! ai gormod ydyw ini
Roddi o'n trysorau 'n awr,
Er mwyn anfon gwir oleuni
I rai sydd mewn t'wyllwch mawr?
T'wyllwch llawn o bob erchyllder,
Pa le ceir tywyllwch mwy?
Pan nad ydyw "Haul cyfiawnder,"
Byth yn t'wynu arnynt hwy!

## TRYSORAU DAIAROL.

PETHAU 'r byd wyf yn ddibrisio,
Gan eu bod yn myned heibio;
Bydd y ddaiar a'i thrysorau,
Yn ein gadael oll yn angau.

Nid oes yma hir arosfa,
Nid oes yma ddim yn para,
Nid oes yma ddim gwrthddrychau,
Sydd yn deilwng o'm serchiadau.

Nid oes dim a allaf garu,
Fel fy anwyl, anwyl Iesu:
Beth yw holl brydferthwch daiar,
Wrtho ef sydd oll yn hawddgar?

Ni all golud byth fy swyno,
Nid wy'n gweled tegwch ynddo;
Ac nid ydwyf am ei feddu,
Ond yn unig i'w wasgaru.

Os yr Arglwydd a'm anrhega,
A thrysorau 'r bywyd yma;
Gwnaf gyfeillion fyrdd o Mammon,
Er ei fod yn un anghyfion.

Gwnaf i'r gweddwon lawenychu,
Caiff eu dagrau oll eu sychu;
A'r amddifaid mawr eu hangen,
Gyraf hwynt i wenu 'n llawen.

Rhoddi wnaf yr oll a allaf,
Yn bur llawen--nid yn araf—
At wasanaeth f' anwyl Iesu,
Roes ei fywyd i'm gwaredu.

A fy Nuw a wnaf ber foli,
Beunydd am gael gwneyd daioni;
Am gael meddu 'r fraint hyfrydlon,
O wasgaru ei fendithion.

O! mor ffol yw y rhai hyny,
Sy bob amser yn dych'mygu,
Fod meddiannu aur ac arian,
Yn rhyw fáwredd ynddo 'i hunan.

Cofiwn beunydd na fydd mammon,
Ini oll ond gelyn creulon,
Os na wnawn e'n ufudd ini,
I'n cynnorthwyo i wneyd daioni.

## DYDD Y FARN.

Fy enaid euog iawn, pa wedd
  Y teimli y dydd hwnw;
Pan fydd y Duwdod ar ei sedd,
  Yn barnu 'r byw a'r meirw?

Pan fydd ein daiar oll yn dân,
  A'r annuw oll yn crynu,
A elli, f' enaid, seinio cân,
  A llawenhau 'r pryd hyny?

A phan y d'wed fy Arglwydd mawr,
  "O! ewch rai melldigedig!"
Pa le y byddi di yn awr—
  A fyddi di'n golledig?

O! Iesu, cynnorthwya fi.
  Bechadur gwael gresynol,
I roi fy hun yn llwyr i ti,
  I'th garu yn wastadol.

Ac yna pan y delo 'r awr,
  I ti ddadguddio 'th allu;
Caf ogoneddu 'th enw mawr,
  A llawenhau 'r pryd hyny. 1854.

## TRAGWYDDOLDEB.

TRAGWYDDOLDEB! O! air rhyfedd
  Ac ofnadwy ydyw hwn:
Wrth fyfyrio am ei fawredd,
  Sudda 'm henaid dan ei bwn;
O! mor bwysig yw 'r gair yma,
  I bob enaid dan y nef;
Pwy all ddirnad faint gynnwysa
  'R filfed ran o hono ef?

Edrych ar y gwlith ronynau,
  Yn y bore 'n hulio 'r llawr,
Dyro fyrddiwn o flyneddau,
  Am bob gwlithyn bach yn awr?
Pwy all rifo 'r hyn a enwyd?
  Ofer fyddai dechreu 'r gwaith;
Ond nid ydyw 'r oll ond ennyd
  Wrth y tragwyddoldeb maith.

Nis gall enaid byth ddych'mygu,
  Tra bydd yma yn y byd,
Tra yn cael ei gau i fyny,
  Yn ei garchar bach bob pryd,
Beth yw trigo yn wastadol,
  Mewn rhyw bell ddyeithrol wlad?
Treulio einioes annherfynol,
  A thragwyddol ei pharhâd.

O! fy enaid, dwys ystyria,
  Yn mha le y byddi di,
Yn mha fan y bydd dy drigfa,
  Ar ol gadael byd a'i fri?
Os i uffern cei dy daflu,
  Ni bydd d'od oddi yno byth;
Cred, fy enaid, cred yn Iesu,
  Cred, a'r nefoedd fydd dy nyth. 1854.

## GWEDDIO.

A gyfansoddwyd ar ol clywed J. R. yn pregethu oddi ar *Eph.* 1 16.

Gweddïo! pa beth yw?
Peth yw a ddengys nas gall dyn
Ddim gwneuthur dim drwy 'i nerth ei hun,
Heb gymhorth Duw.

Gweddïo! pa beth yw?
Peth yw a ddengys allu Ior,
I gynnorthwyo ar dir a môr
Holl ddynolryw.

Gweddïo! pa beth yw?
Peth distadl odiaeth ynddo 'i hun,
Ac nis gall wneuthur dim i ddyn,
Na neb o'i ryw.

Nid gweddi wnaeth i'r môr,
A'i donau geirwon hollti 'n ddau,
Nes ydoedd ffordd i deithio 'n glau—
Ond gallu Ior.

Nid gweddi, egwan lef,
A wnaeth i'r marw godi 'n fyw,
A rhodio gyda dynolryw,
Ond Arglwydd nef.

Gweddïo! pa beth yw?
Peth nerthol odiaeth yn ddïau,
Pan fyddo mewn cyssylltiad clau
A gallu Duw.

Rhyfedd effeithiol yw!
Llawer a ddichon gweddi wael,
Fo 'n myn'd o galon bur a hael
At orsedd Duw.

Peth eang, eang, yw,—
Mor eang a thrugaredd rad,
A mawr ddaioni 'n nefol Dad,
I ddynolryw.

Gweddïo byddom oll;
Pan yn y dirgel gyda Duw,
Gweddïwn dros holl ddynolryw,
Pawb yn ddigoll.

Parotach fydd dy Dad,
I wrandaw ar dy weddi 'n gu,
A rhoi bendithion iti 'n llu,
O'i nefol rad,

Os wrth weddïo 'th hun,
Y byddi 'n cofio am dy frawd,
'R un wedd a thithau sy 'n dylawd,
A gwael ei lun.

Gweddïa dros y dyn
Ag sydd yn treulio dyddiau 'i oes,
Gan ddiystyru gwaed y groes,
Ac ef ei hun.

Gweddïa drosto ef,
Yr hwn, heb achos i'th gasäu,
Sy 'n elyn iti i barhau,
O dan y nef.

Gweddïa ar i Dduw
Ddarostwng ei holl nwydau câs,
A llenwi ei galon falch â gras,
Tra byddo byw. 1854.

## ERFYNIAD AM DRUGAREDD.

Yn enw f' anwyl Iesu,
Fy unig obaith i,
'R wy 'n awr yn wylaidd nesu,
O Dduw! i'th wyddfod di,
I ofyn ac i erfyn,
Am gael maddeuant rhad;
Can's clywais mai diderfyn
Yw dy drugaredd mad.

Gwn fod fy anwireddau,
  Fel tywod mân heb rif,
A'm herchyll ffol gamweddau,
  Fel diferynau 'r llif;
Ond aufon dy ddaioni
  A wnest i'r gwaethaf rai,
Yn mawredd dy haelioni,
  Dilëa fy holl fai.

Mae 'n wir nad wyf yn haeddu
  Y fendith leia' i gyd,
O herwydd ymdrybaeddu
  Mewn pechod wnes bob pryd;
Ond y mae pob ryw lawnder
  O haeddiant yn y dyn,
A dalodd i gyfiawnder,
  Ein dyled mawr ei hun.

Am hyn, O Dduw! cyfrana
  Drugaredd imi 'n awr,
A'm tafod a'th folianna,
  Tra yma ar y llawr;
Ac ar ol cael mynediad,
  I'r nefoedd ddysglaer lân,
*Trugaredd rad* fydd rhediad
  Fy mwyn dragwyddol gân. 1855

## CREFYDD FOREUOL.

Mor ddedwydd yw 'r rhai hyny sydd
Yn ceisio Duw yn more 'u dydd;
Gan erfyn am ei ras bob pryd,
I'w cyfarwyddo yn y byd.

Er iddynt gwrddyd lawer gwaith
Ag anhawsderau ar eu taith,
Cânt Iesu 'n lloches gynhes gu—
Cânt fod yn ddiogel yn ei dŷ.

'Hoff odiaeth gan yr Arglwydd mawr,
Yw gwel'd ieuenctyd teg eu gwawr,
Yn nesu at ei orsedd ef,
Gan ei glodfori 'n fwyn eu llef.

Wrth deithio dyrys lwybrau 'r byd,
Câant E'n arweinydd ar bob pryd;
Fe 'u gwneir yn gryfion drwy ei ras,
Gorchfygant bob ryw elyn cas.

Gan hyny, penderfynu 'r wy',
I ogoneddu 'm Harglwydd mwy,
A pharchu 'i ddeddfau anwyl E,
Bob amser ac yn mhob ryw le. 1854.

## CYFEILLION YMADAWEDIG.

Pan y byddwyf bron a'm llethu
Gan ofidiau o bob rhyw,
A phan fyddwyf bron yn methu
Gwel'd un cysur i ddyn byw,
Nerthir f' enaid gwan wrth gofio
Am fy hen gyfeillion cu,
Sydd yr awrhon oll yn nofio
Mewn dedwyddwch bythol fry.

Buont yma gynt yn crwydro
Yn helbulus drwy eu hoes;
Buont yma gynt yn brwydro,
O dan faner goch y groes;
Ond maent heddyw wedi darfod
A phob pechod a phob poen,
Ar ol iddynt fwyn gyfarfod
Gylch gorseddfainc Duw a'r Oen.

Pwy a ŵyr, yw 'm llef gan hyny,
Pwy a ŵyr, fy enaid, pwy,
Na chaf finnau hoff gylchynu
Yr orseddfainc gyda hwy?

Pwy a ŵyr ?—neb o ddynolion—
  Er fy mod mor *ddu*, pryd hyn,
Na cheir fi yn mhlith nefolion,
  Nid yn *ddu*, ond perffaith *wyn*. 1855.

# ENGLYNION, &c.

### Y CYBYDD.

Y CYBYDD tra bydd efe byw,—heb barch,
  Gâr y byd hyd ddystryw ;
Ei rwydawl bleser ydyw
Addoli aur—mor ddŵl yw!

### BEDDARGRAFF Y CYBYDD.

WEDI ymboeni beunydd—drwy ei oes
  Am drysor a dderfydd,
Marw, ac heb ddim, yw 'r Cybydd !
Och ! heb ei aur mwyach bydd!

### Y DWFR.

TROI allan yn *feistr* hyllig—wnei, y Dwfr,
  Ond yn *was* caredig ;
Wyt araf, dôf—llawn twrf dig—
Yn llariaidd—eto 'n lloerig !

### Y TAN.

Y TAN, mor werthfawr wyt ti ;—ac, yn wir,
  Ar ol i'm cnawd oeri,
Atat y dof, er iti
Wir hyf ladd fy oerfel i.

Wele, un anwyl iawn ini—ydwyt,
  Bob adeg mewn oerni ;
Yn awr, dân, rhaid dy enwi
'N arf i ladd fy oerfel i.

### Y RHOSYN.

SWYNAWL gynllun tlysineb,—neu ddilwgr
Gynddelw anwyldeb,
Yw Rhosyn gardd, hardd iawn heb
Un anaf yn ei wyneb.

### BLODEUYN Y GLASWELLTYN.

WI! Flodeuyn gwyn gwenawl,—dy agwedd
Fedd degwch rhagorawl
I'm swyno, O! em synawl—
Ond i hyn ber yw dy hawl!

Och! un dydd bychan yw d' oes,—yna syrth
Pob swyn fedd dy fer-oes:
Iôn, yr hwn a'th wnaeth, ni roes
I ddyn ond dydd o einioes!

### ENGLYN I'R AWDWR.

A gyfansoddwyd gan foneddiges ieuanc pymtheg oed. Yr un oed oedd yr Awdwr.

RISIART sy fardd heb rysedd,—a'i dalent
Yn deilwng o fawredd;
Wele 'n fyw ei ail ni fedd
Daiar gain—holl dir Gwynedd.

### ATEBIAD I'R ENGLYN UCHOD.

Fenyw hoff! O na fawn i—yn deilwng
O'th dalent uchelfri;
O! ba ham na bae i mi
Awen fel dy awen di?

### ELEN.

O! FWYN Elen, fy anwylyd,—ei bath
Ni bu drwy yr holl-fyd;
Y mae calon hon o hyd,
I mi yn well na mywyd.

### DARLUN TALHAIARN.

DYNA lun bardd doniol, na bu—i'w gael
Ffraethach gŵr yn Nghymru:

Mae 'n *dàl* yn mhlith mwyn deulu
Enwog iawn yr awen gu.

### "FY AWENYDD."

CAWN i'w yfed gan Cynhafal—o win
Ei "Awenydd;"—cordial
Adfywiol fydd, bob dydd, i'n dal
I fyny mewn oeraf anial.

### CARN INGLI.

GAIR yn anglod i Garn Ingli—ni ddaw
Gan ddyn fo 'n gwir hoffi
Ein hen wlad, a'i hiaith fâd hi,
A llwydd yn mhob dull iddi.

### BARDD NANTGLYN.

SWYN ei dalent sy 'n y "Diliau,"—yn fêl
I fyrdd o galonau;
Yn y Glyn bu 'n oesi 'n glau,
Fardd anian o fawr ddoniau.

Od yw 'r mawr gyda 'r meirwon,—ei fyw ddawn
Feddianna ei wyrion;
Onid bardd glew yw 'r Llew[1] llon?
Clod oesau ga Clwydwyson.

### Y CLEDDYF.

Ow! gleddyf, enwog leiddiad—dyn ydwyt,
Hen awdwr galarnad;
Dinystr sy 'n fawr am danad,
Un o brif gyfeillion brad.

Och! ydwyt yn un sychedig—am waed,
Mudo wnei yn ffyrnig,
Fyrddiynau yn d' oriau dig,
O ddynion i'r bedd unig.

[1] *Llew* Hiraethog, cefnder i Clwydwyson.

### Y FAGNEL.[1]

Dryll certh, ac anferth waith ynfyd—ddyfais,
Er gwyllt ddifa bywyd
Ac elw—a fedd celfyddyd
Wn o'i bath o fewn y byd?

### Y TAFOD.

Un bychan—mawr iawn ei bechod,—a'i waith
Yn effeithio 'n hynod;
Un gwir dda pan geir ë i ddod
A didwyll fawl i'r Duwdod.

### I FY ENAID.

Cofia, f' enaid, rhaid it' gredu—yn Nuw,
Yn awr, a'i wir garu;
Neu trwy ofid gartrefu
Yn y ffwrn ddofn—uffern ddu!

### YR IACHAWDWRIAETH.

Trwy gur y gwnaeth trugaredd—ein da Iôr,
Iachawdwriaeth ryfedd,
I'r enaid gwael di-rinwedd
Fedi hael wynfyd a hedd.

### Y MORGRUGYN.

Hygar agwedd y morgrugyn—rodda
Wir addysg i ddiogyn;
Yn mhob lle efe a fyn
Ymwneyd â phob munudyn.

### YR HEN LANC.

Er edrych yn llawn o rodres,—heb barch
Mae 'n byw yn dra di-les;
Un â bron oer iawn, heb wres,
Yma yw 'r di-gymhares.

[1] Buddugol yn Eisteddfod Llanfair Caereinion, 1855.

Wedi 'r oes llawn dyryswch—ryw hûn lwyr
Ga 'r hen lanc mewn heddwch,
Trwy ystod na rydd tristwch
Neb wan lef uwchben ei lwch.

### PRIODAS MR. J. SIMON, PLAS YN RHOS.

EIN Simon dirion a da—a unwyd
A'i anwyl fwyn Efa ;
Boed iddynt ar eu hynt ha'
Dia'mur yn y byd yma.

Hyd y bedd bob ennyd bo—y deuddyn
Yn dyddan gyd rodio ;
Ac yn doeth gu iawn deithio,
I'r nefol hyfrydol fro. 1853.

### MARWOLAETH MISS SIMON, GELLIFOR.

YN gynhes iawn bu 'n gweini—i weision
Yr Iesu heb gyni ;
Er ei hael wobrwyo hi,
Glaniodd ar dir goleuni.

Darfu 'r boen—o dwrf oer byd—ehedai 'n
Iach odiaeth i wynfyd ;
Fenyw hoff, yn fwyn o hyd,
Mae 'n ei helfen mewn eilfyd. 1854.

### ENGLYNION

I Mr. Pierce, Plas Newydd, Llanelwy, wedi iddo gyfarfod â damwain dra pheryglus, drwy i darw ymosod arno, a'i anafu yn dost.

I DDUW o'm bodd y gwnaf roddi—yn gynhes
Ogoniant heb oedi ;
Ei fawl a ddatganaf fi,
Am ei ddinam ddaioni.

Gwir ydyw, fe 'm gwaredodd,—o ingawl
Safn angau fe 'm cipiodd,
A'm heinioes fâd (ei rad rodd),
Yn gu odiaeth a gadwodd.

Os y nwyfus anifel—a gafodd
Roi gofid heb ochel ;

Fy mywyd gadwyd heb gêl,
Ni ddygwyd hwn—mae 'n ddiogel.

Yn rhwyddawl am hyny rhoddaf—glod llawn,
Ac uniawn y canaf
Beraidd fawl i'm nefawl Naf,
E 'n ddilys a addolaf. 1853.

## ENGLYNION.

Cyfansoddwyd ar ddymuniad Mr. Phillips, Llanberis, wedi iddo gael ei daflu oddi ar ei farch, pan ar ei daith yn pregethu drwy sir Ddinbych.

E GAI damwain fy nghodymu—yn dost;
Ond er fy anafu,
Mae dyled imi dalu
Moliant mâd i'm Ceidwad cu.

Ow! pa sadwedd gwymp sydyn—a roe naid
Dychrynedig filyn;
Trugaredd ryfedd er hyn,
Ddaliai i'm tyner ddilyn.

Byw ydwyf! O! arbediad—rhag angau!
O'i enau ces dyniad!
O'i afael tyn—dug gofal Tad
Fy einioes rhag ei therfyniad.

Clodforaf, talaf i Ti—O! fy Ion,
Am dy fawr ddaioni,
Rhyw wych fawl—ymdrechaf fi
Dy felus hynod foli. *Mai*, 1856.

## PROFIAD MEWN TRISTWCH.

GOFID ar ofid a rydd—i'm henaid
Archoll miniog beunydd;
Pa les gobeithiaw?—daw pob dydd
A galar fel eu gilydd.

Fe wena Anian fwynwedd,—a'i lluoedd
Sydd yn llawn gorfoledd;
A cheir dynion yn llonwedd—
Ond ow! i mi 'does dim hedd.

Ond, fy Iesu cu, os câf—o wenau
Dy wyneb anwylaf;
Bob dydd ufudd ddyoddefaf
Hyn oll, a'th foliannu wnaf. 1857.

CYSGU MEWN ADDOLIAD.[1]

Ow! gwae yr hwn a gâr huno—yn nhŷ
Ein Hiôr yn ddigyffro;
Dyma ŵr du am herio,
Yn wir hyf ei Luniwr o.

E ddaw i lys sancteiddiawl Iôn,—fe glyw
Fywiog lais cantorion;
I'w enaid ef ryw hûn dôn
Felys yw gwir fawl Sïon.

Yna dyna 'r da ŵr doniol—yn son
Am Sinai aruthrol;
Nes taraw 'r anystyriol,
A ffy gwag hyder y ffol.

Y dychryn wed'yn newidia,—gwelir
Goleu o Galfaria,
A daw 'r anobaith dua',
Oer ei wedd, fel bore ha'.

Er hyny 'n difraw huno—y mae un,
Fel pe mynai wawdio
Deddf, a fyn ei erlyn o,
A dwrn sy'n gauad arno.

Ond y farn ofnadwy fydd—yn deffro 'r
Diffrwyth ryw foreuddydd,
I'r gwae—i'r gwae tragywydd,
Ni huna dan wae un dydd!

Y DARAN.

Cyfansoddodd yr awdwr yr englynion canlynol cyn bod yn 16 oed. Bwriadai anfon chwech o honynt i Eisteddfod Dolgellau, pe cymmerasai le.

Mae Anian gu lân dan glwy'—y wiwnef
Yn anedd rhyferthwy:

[1] Testyn yn Eisteddfod Llanbrynmair, ddydd Nadolig, 1857. Rhanwyd y wobr rhwng Mr. R. Davies (*Mynyddog*), a'r awdwr.

Ni cheir mad a chlodadwy
Seiniau mawl i'n swyno mwy.

Miloedd sydd o gymylau,—yn hynod
Wahanol arluniau;
Heddyw oll, amryw ddulliau
Sydd iddynt—a'r gwynt yn gwau.

Och! hir sŵn tra echrys yw—y Daran,
Gwna dwrwf digyfryw;
Gwefreidd-dân yn clecian—clyw!
Hynodol lais Iôn ydyw.

Sŵn anferth iawn a nerthol—yw 'n sydyn
Arswydo 'r hil ddynol;
Ar fyr y gyr y gwrol
I'r un ffurf a'r coryn ffol.

Dwy elfen drylen sydd draw—â'u gilydd
Yn gwir galed frwydraw;
A'r nen gron, a'i bron mewn braw,
I'r eigion yn ymrwygaw.

Hyf hynodol, ofnadwy—yw y dwfr
A'r llym dân yn tramwy;
A'u nod fel dychrynadwy
Agerdd mawr yn ymgwrdd mwy.

Y fellten, fel yn dadfolltiaw—anian,
Drwy yniant sy'n rhuaw;
Gyr hon i fron pob dyn fraw,
Nes i'w galon lesg wylaw.

Arddengys mewn ffordd ingawl—in' allu
Ein Iôn Hollwybodawl;
Ei fawredd rhyfedd a'i hawl,
A gwyd mor anghydmarawl!

Neud, esgud yw 'r gwlaw yn disgyn,—heb ball,
Ar bob cwm a dyffryn;
Nawdd gu pob teulu 'r pryd hyn,
Yw rhyw fath o lawr fwthyn.

### Y CRISTION YN MARW.

DRAW y gwelaf drigolion—y nefoedd,
Mewn nwyfiant hyfrydlon;
Yn glau mewn gynau gwynion,
A sain llef pob un sy 'n llon.

O! 'r hygaraf lu rhagorawl,—di-ail
Hoff deulu sancteiddiawl;
Pûr odiaeth, ac ysprydawl,
Da a mwyn ydyw eu mawl.

Pethau 'r byd i gyd a'u gwg—a'u siomant,
A giliant o'm golwg;
Ymladd ni raid, mae 'n amlwg,
Yn hwy 'n drist yn erbyn drwg.

O! hynod engyl heini'—a welaf,
Anwyliaid goleuni;
Y rhai 'n ŷnt i'm harwain i,
O ganol byd a'i gyni.

Da odiaeth y dywedant—"O! tyred,
Un tirion, i fwyniant;
Tyr'd i'n côl ein siriol sant,
I ganu mewn gogoniant."

Llon ffarwel tawel ro'f iti,—O! fyd,
Fe 'hedaf o'th fryntni;
Rho ist bob awr boen mawr i mi,
Am einioes ce'st fy mhoeni.

Obaith mad! ni chaf byth mwy—fy mlino,
Caf ymloni 'n ddiglwy';
Yn y ne' hardd byth yn hwy,
O! le boddiawl, y byddwy'. 1853.

### BEDDARGRAFF HUW MEDI.[1]

UN ieuanc ydoedd, a'i enw 'n codi,
Ei awen wiwdeg yn ei hynodi;

[1] Gwel hanes H. Breese, (*Huw Medi*), yn y *Cronicl*, am Hydref, 1857.
Yr oedd yr Hir a Thoddaid uchod yn ail oreu o 19 o gyfansoddiadau, yn Llanbrynmair. Dywedai y beirniad ei fod yn "bennill campus;" eto, rhoddodd y flaenoriaeth i bennill a gynnwysai ddwy hen linell, yn nghyda'r gwall cynghaneddol a ganlyn:—

"Dodwyd i orwedd Huw Medi dirion."

Newidiwyd y gair "dodwyd" am "mudwyd" cyn i'r pennill gael ei gyhoeddi.

Ond â'i gyflawn ber ddawn mewn barddoni,
Bu ŵyl a mwynaidd heb wael ymhoni;
Un â byw dyniad at bob daioni,
Tra yma, ydoedd natur Huw Medi;
Ond yn awr uwchlaw 'n byd ni,—mewn hardd lys,
Ei gân sy felys wrth gynhes foli.

### LLEF AM FADDEUANT.

Atat, Iesu, 'r wy' yn nesu,
'N awr yn isel;
A gwedd ofnog, hynod euog,
Nid yn dawel;

Gan drist wylo, i weddïo
Am faddeuant,
O gamweddau, anwireddau,
Yn awr roddant

Boenau dibaid i fy enaid,
Sy 'n erfyniol,
Am ei godi o drueni,
Yn dirionol.

Os fy Ngheidwad, heb dderbyniad,
Ba ddirboenau,
I'm bron ddeuant, ynddi arosant
Ddiri' oesau!

Drwy dy glwyfau a'th ddirboenau,
Rho 'th dderbyniad,
I bechadur tan ei ddolur,
Mewn tyn ddaliad.

Yna 'm tafod â'i lawen-nod,
A'th folianna,
Tra dan fawrgur bywyd a'mur
Y byd yma.

Ond 'r ol glanio 'n nhawel union
Fro telynau,
Mor sancteiddiol a hynodol
Fy nghaniadau!

Na cherdd serchog engyl enwog,
Yn ngoleuni,
Rhof felusach a hynotach
Emyn iti. 1855.

# ANERCHIADAU.

I ANERCH YR "EISTEDDFOD RYFEDD."[1]

'STEDDFOD or-hynod yw hon,—un o'i bath
Ni bu, mae 'n wir ddigon,
Yn ein gwlad fwyn enwog lon,
Mewn un oes—mewn un noson.

O'r hynod Eisteddfodau—hon ytyw 'r
Hynotaf yn ddïau ;
O ! mor hoff fydd ei mawrhau,
Yn lwyswych, mewn ol oesau !

Ni wedir mo hynodion—eu gwobrau,
A doniau ei dynion ;
Am dani bydd si a sôn
Drwy Walia, frodir wiwlon.

Sonir am ei gwasanaeth—gan feirddion,
Gan fyrdd drwy 'r d'wysogaeth ;
O herwydd fe fydd yn faeth,
A noddiant i'n llenyddiaeth.

O! mor deg yn y gegin—y gwelir
Gwiwlu anghyffredin ;
Llên wŷr hoff yn llawn o rin,
Ac oesawl feirdd teg iesyn.

Llawn achos, O Blas Llanychan—sy it'
I ymffrostiaw weithian;

[1] Gwel hanes yr Eisteddfod uchod yn yr Amserau, am Gorph. 23, 30, ac *Awst 6, 1856.*

Bri heb ball o hyn allan,
Yn rhwydd gei, a pheraidd gân.

Wel, dyma eisteddfod nodedig, yn ddïau,
Yn dirfawr ragori ar yr holl eisteddfodau;
Yn mha le cynhaliwyd eisteddfod mewn cegin?
Ai nid ydyw hyny 'n beth tra anghyffredin?
Am bob ryw eisteddfod y clywsom am dani,
Onid goreu po fwyaf o bobl äi iddi?
Ond nid felly mae gyda 'n 'steddfod nodedig,
'D oes neb yn bresennol ond rhai etholedig.
Nid yw 'r gynnulleidfa 'n lluosog, ni welwn,
Ond eto nid rhyfedd yw hyny, pan gofiwn
Mai bychan yw nifer rhai doeth yn wastadol,
A doethion yn unig sydd yma 'n bresennol.
Edrychwn yn awr dros y gwerthfawr destynau,
Ardderchog ŷnt holl, er mai bychain yw 'r gwobrau:
Cadeirir y prif-fardd a ganodd i'r "Diogyn"
Ryw bryddest ysblenydd, a rhoir iddo sylltyn:
Glan Aled a wrida pan genfydd y bryddest,
Pa brif-fardd allasai gyflawnu 'r fath orchest?
A'r bardd awenyddol wnaeth gân mor hedegog
I'r "Biogen," a dderbyn am hyny chwe-cheiniog;
A'r un faint o wobr sy'n caffael ei rhoddi,
Am draethawd dwfn-dreiddiawl ar les "Bore-godi:"
Bydd syndod yn llenwi 'r awduron rhagorol,
Pan fyddant yn darllen y traethawd buddugol:
Ac nid yw 'r cantorion yn cael eu anghofio,
Am ganu 'n dra pheraidd cânt hwythau 'u gwobrwyo.
Ond 'r wyf yn gobeithio mai penaf hynodrwydd
Ein pwysig eisteddfod, fydd perffaith onestrwydd.
O herwydd y trawsder a'r anghyfiawnderau,
Gyflawnwyd mor aml yn yr eisteddfodau,
Mae 'r enw *eisteddfod* bron colli 'i holl urddas,
Gan luoedd mae 'r awrhon yn ffiaidd ac atgas;
Ond credaf yn gryf gwna Eisteddfod y Gegin,
Adferu i'r enw ei urddas cyssefin:
Pwyllgorau a beirniaid 'steddfodau dyfodol
Ar hon a edrychant am gynllun hynodol.
Mawr ydyw 'th ogoniant, O! 'r hen Blas Llanychan,
Rhyw fythol enwogrwydd fydd it' o hyn allan;
Gan feirdd a llenorion bydd anwyl dy enw,
A Chymru ben-paladr gaiff wybod am hwnw!

WRTH GADEIRIO Y BARDD.

O, ENWOG fardd! hardd yw 'th hawl—o godiad
Fry i'r gadair farddawl;
Hoff iawn fydd anorphen fawl,
A ennillaist yn hollawl!

I ANERCH "AIL EISTEDDFOD Y GEGIN."

YN awr i filiwn orfoledd!—wele
Ail eisteddfod ryfedd;
Mewn cegin gwel hi 'n ngwawl hedd—fel bûn glau,
Rhydd yn awr wênau ar ddawn a rhinwedd.

Ei llenawg wŷr llawn o gariad—gwladol,
Gânt glodydd yn wastad;
Eu llafur yn Llynlleifiad,
Mawr a fydd drwy Gymry fâd!

Ein llenyddiaeth oll noddant,—â gemau
Digymar fe 'i gwisgant;
Yn ewybr ei gwedd mewn bri gânt,
Yn gwenu mewn gogoniant!

Diau ryw seirian drysorau—ydyw
Eu hodiaeth destynau;
Ac ebrwydd rhwng y gwobrau,
Mewn llawn nerth, ceir gwerth yn gwau!

Ail Eisteddfod y dêg Gegin—a fydd
Yn fael anghyffredin,
I'n beirdd oll yn beraidd win,
Melusach na 'r melyswin!

Tref Llynlleifiad fâd a fydd,—o'i hachos,
Yn fwy uchel beunydd
Am wir ddawn, 'r ol i'w mawr ddydd
Hwn ddarfod—ond ni dderfydd!

Yn ein hyfrydol hen frodyr,—gwiw swyn
Ei gwasanaeth gofir,
Gan luoedd, am oesau hir,
A'i thalent a fytholir.

Yn ei chynllun dymunawl—dir esyd,
Drwy oesau dyfodawl,

Oleuni 'n y wybr lênawl—
Holl oes gwir ga lles ei gwawl!

# CYWYDDAU.

## CYWYDD MARWNAD[1]

**I'r diweddar fardd John Thomas (*Eos Gwynedd*), Pentrefoelas.**

A! ORWEDDFA gwr addfwyn,
Tomas, Pentrefoelas, fwyn;
Ysig iawn, Eos Gwynedd,
Ydwyf fi wrth wel'd dy fedd;
Y mae galar i'm gwyliaw,
A gŵr llesg ydwyf ger llaw
Dy anedd, O! fardd doniol—
Wylo 'r dŵr yn wael ar d' ol,
Wnaf pan gofiaf dy gerdd gu'
Ragorol, wy 'n fawr garu.
O! f' anwylaf fwyn eilydd,
Da ei ddawn, darfu dy ddydd!
Ond nis derfydd dydd dy waith
Dia' mur, nes myn'd ymaith,
Drwy y nef, ein daiar ni,
O fan ei hen sylfeini.

Dir e fyn penderfyniad
Ei wir gais, er dirfawr gad,[2]
Mawr rwystrau a ymrestrant
O'i flaen—yn wir diflanu wnant.
O! fardd hoff, fore ei ddydd,
Gwanwyn ei ryfedd gynnydd,
Ni chafodd rodd gwir addysg;
Tan gloiau 'r oedd dorau dysg,

[1] Testyn yn Mhentrefoelas, dydd Nadolig, 1857. Rhanwyd y wobr rhwng M. Owen, (gor-wyr i'r hen fardd), a'r awdwr.
[2] Rhyfel.

O flaen ei ddyfal enaid;
Ond bu mawr egni di-baid,
Ei lew rinweddol awydd,
Yn dal i wthio bob dydd,
Ar ei daith drwy rwystrau dig,
Yn gadarn anmhlygedig.
Dirif oedd anhawsderau
Ei hynt—ond mynodd fwynhâu
Rhoddion digymhar addysg,
Daeth yn gawr mawr yn ein mysg.

Canu bu ei awen bêr;
Ar dân ei mawl gwir dyner;
Hoff ëos mewn nos, mae 'n wir,
A bri ydoedd i'n brodir;
Têr emynau tra mwynion,
Wnant ŵr llesg yn un tra llon,
A ganodd ef yn gynhes—
I'r llu fe ganai er lles.
Nid i foddio 'r difeddwl,
A rhoi dysg i nwydau 'r dwl,
Yr oedd ei gân hardd ei gwedd;
Ond i ranu da rinwedd;
I ddwyn ynfyd ddyn anfoes,
Mewn ffydd at grefydd y groes.
E welai yr "Anwylyd,"[1]
Heb ŵr o'i ail â hardd bryd,
A'i wrid hoff yn hyfryd wau—
Yn un fel pren afalau;
Yn gysgod mewn diwrnod dig,
I'r enaid gwael tra unig;
A'i beraidd ffrwyth, cu lwyth clau,
Yn anwyl iawn i enau.
Diliau yw ei odlau hyn,
Mêl im' yw mawl ei emyn;
Ië, gwell ei flas na gwin,
Melusach na'r melyswin.

Yn fud, dan leni ei fedd,
Yn y gweryd hwn gorwedd,

[1] John Thomas ydyw awdwr y pennill melus, "Pwy wela'i fel f' Anwylyd, &c., a gyfansoddodd pan yn gwrandaw ar Mr. Griffiths, Caernarfon, yn pregethu yn y Bala, oddiar *Can*. ii. 3.

Genau mwyn, wnaent ganu mawl
Melus, nwyfus, a nefawl;
Ond ei enaid gân yn dyner,
Mor gain yw ei sain uwchlaw 'r sêr!
E *wel* ei hoff "Anwylyd,"
A rhydd gân beraidd i gyd,
I foli Ei ddwyfol wedd,
A'i goron o drugaredd.

Llawer o feirdd y llawr fu
Enwog hynod am ganu;
Ond er cymaint braint eu bri,
Hwy lwydent mewn tylodi,
Ar hyd oes, wrth roi eu dydd
I weini yr Awenydd;
Ond o laid dwfn dylodi,
Yn glau drwy rwystrau heb ri',
Esgynai Eos Gwynedd,
Nes äi yn barchus ei wedd.

Ei hardd enw, fardd uniawn,
Fydd anwyl, ac anwyl iawn;
Drwy hen oes ein daiar ni,
Dilys y gwna fodoli;
Ys i Bentrefoelas bydd,
Hyd ein gwlad, yn wiw glodydd;
A bydd ei glywed heb aeth,
Yn hygar gref annogaeth,
I'r ieuanc mawr ei awydd,
I ddyfal ddal bob ryw ddydd,
Ac er pob anhawsderau,
A geir o'i ddeutu 'n amgâu,
Yn ei gais mwyn i geisio maeth
Bywydawl gwir wybodaeth.

Ni wylaf, O, fwyn eilydd!
Gan na wyli di un dydd;
Ond e gofiaf dy gufawl
Hyglod mwy, yn ngwlad y mawl;
Yma huna 'th gorff anwyl—
Ond dy gorff ryw adeg wyl,
Geir o lwch yn hawddgar lân,
O dywyllwch daw allan,
Er uno'th ddysglaer enaid,
I fwynlon byncio 'n ddi-baid!

## HUNANOLDEB.[1]

UFFERNOL Hunanoldeb,
Wyf yn wir—nid ofnaf neb.
Dyrchafu hynod glod glân,
I fy henw fy hunan,
Diau yw 'r gwaith gorau gaf;
O achos FI yw 'r uchaf
Un o bawb o fewn y byd—
A'm mawredd ni wiw 'myryd.

I myfi, y mwyaf un,
Ys ni welais wan eilun.
E fwrid pob gwir fawredd
O'r byd, pe 'r elwn i'r bedd;
A byddai 'r byd o hyd heb
Waith enwog gwir ddoethineb.
Nid oes drwy y byd isod
Wr glew a haedda wir glod,
Na dyn am wneud daioni
O hyd o'i fodd ond y V.
Un o agwedd unigawl
Ydwyf fi—hardd nod i fawl.
Hyglod fod difai wyf fi,
Naw glanach na goleuni;
Ni welir gan ddynolion,
Na llygaid byw danbaid Iôn,
Un gŵr mor enwog ei wedd,
Neu mor hynod am rinwedd;
Na gwron mewn un gorawr,
Yn ail i mi, y V fawr!
Nofio ynwyf fy hunan,
Yn foddiawl, yw 'm nefoedd lân.
Im' fy hun, y mwyaf wyf,
A da fod difai ydwyf;

[1] Y cywydd buddugol yn y Beulah, Llanerfel, Ebrill 16, 1858. Yr en[glyn] canlynol a gyfansoddwyd gan y beirniad, sef Mynyddog, pan yn ysgrife[nu ei] feirniadaeth ar y cywydd uchod:—

"Y V fawr" a fyfyriodd—ei destyn,
Gyda dwyster canodd;
Ar ei ben yr Awen rodd
Y goron—"Y V" guredd!

Am ereill, nac ymyrant
A fy nghlod, neu gwybod gânt
Yn fuan iawn, wae fy nig—
Ar fradwyr nid hwyrfrydig
Fyddaf fi i beri barn,
Yn wych odiaeth a chadarn.
A faidd hyf anufuddhau
Ryw eiliad i'm rheolau,
Ow ! dra erch waeau di-ri'
Wel hwn o gael ei eni:
Ond ufudd-dod ni ddodaf
Fi i neb—na rôf i Naf;
Ymfoddloni byth ni wnaf,
Heb dynu pawb o danaf.
O! pan fo fy newraf wedd,
Yn llenwi gan ddigllonedd,
O ! archollion erchyllwaith,
A rof fi i'r ddaiar faith ;
A gwaed bronau llanciau llon,
E gochaf feusydd gwychion ;
Gwyryfon hawddgar hefyd,
Drwy fawr boen doraf o'r byd ;
Gwnaf grechwenu 'n gu yn ngwawl
Dinasoedd yn dân ysawl.
Wyf anwyl i fy hunan—
Ni f'ai i lys y nef lân,
Wneyd imi, mewn cam dymmer
Hynod, fyn'd am ennyd fer,
I garu 'r lle rhagorawl,
Na gwiw angelion y gwawl :
Fy hun, gwn, yw fy unig nôd,
Nid oes arall ond sorod ;
Nid oes yn y bydysawd,
A haedda well na'm rhwydd wawd.
Gelyn wyf o galon i
Un dyn byth wneyd daioni,
Rhag ennill o'i ddrygioni
Y mawl a berthyn i mi,
Ac arall haeddu cerydd,
Drwy gael mwynhâd llesâd sydd
Anghyfiawn ei gyflawni,
Diau am awr—ond i MI.

Dyma 'm deddf gân ar unwaith :—
"Na foed drwy 'r ddaiaren faith,
Un son mwy am seinio mawl,
Ond i'm henw dymunawl."
Haeddiannawl wae i ddynion,
Ryw ddydd fydd yn tori 'r ddeddf hon :
O! fel y cant deimlo dan
Ddyrnod hynod fy hunan :
Yn fuan iawn ennyn fy nig
Ar fradwyr—nid hwyrfrydig
Fyddaf un pryd i foddiaw,
Y llid a nertha fy llaw.
Uffernol Hunanoldeb,
Wyf yn wir—nid ofnaf neb.

Y V FAWR.

## AWDLAU.

### ORIEL BEIRDD A LLENORION CYMRU.

MWYN Eifionydd, mae 'n ofynol—i ti
Ymffrostiaw 'n dra gwrol
Yn dy blant, sy' i gyd, heb lol,
Yn rhyw gewri rhagorol.

Dewi Wyn, od awenydd,—daeth o blith
Dy ddoeth blant dieilfydd;
Gwnai gân lawn o dân bob-dydd,
Ar dy lin hyfryd lonydd.

Ac wele Robert ab Gwilym—i fri
Ar dy fron äi 'n gyflym ;
O arferyd ei fawr-rym ;—
Gwenu yr oedd gan ei rym.

Pedr Fardd—pa fardd, pwy fu—a gurai
Y gwron am fydru ?

Ceir nefol dân ei gân gu
Ef, i'n swynawl fwyn synu.

Gwiw a thelaid goeth eilydd—im' ydyw
Ioan Madawg gelfydd;
A'r llên Elis Owen sydd
Yn anwyl fwyn awenydd.

Emrys fardd—mawr y saif hwn—yn Ngwalia,
Yn ngolwg aml fyrddiwn;
Ei waith geir mor wlithog—gwn,
Saif, fe wel oesau filiwn.

Ond Eben sydd yn d'od heibio,—o fardd
Ei fwy ni chaed eto;
A rhai awdwyr yn rhodio,
Yn wrawl iawn ar ei ol o.

Taliesin—mae tlysau—yn ei gerdd,
Sef gwir feddylddrychau;
A Robyn Wyn fedr wau
Hynodol farwnadau.

Ond Elis—un o'r hen deulu—yw hwn,
Hynod ŵr drwy Gymru;
Ond yn fardd erioed ni fu,
Ac ni fedrodd gain fydru.

Ond da luniedydd diail hynodawl,
Yw Elis enwog—â'i bwyntel swynawl,
Gwir dyna y gŵr doniawl—arluniau—
Ond mae 'r geiriau i dd'weyd mor ragorawl?

I dynu beirdd erioed ni bu—yn fyw
Un o'i fath yn Nghymru;
Ei Oriel ef yra lu
I wir foddiawl ryfeddu.

Oriel iawn ragorol yw,
Oriel od araul ydyw,
O'r gwir feirdd, ragoraf wŷr,
O fythol hynafiaethwyr:
Hynod o hardd ydyw hi,
Hynod bob rhan o honi.
Tra bo gan natur ei beirdd,

O elfen anfarwol-feirdd,
Ac ar dir tra gwelir gwyr
Yn fythol hynafiaethwyr,
Gwelir y darlun gwiwlon
Hwn yn synu llu llon,
Yn fawr iawn nifer hynod,
Am oesau ddegau i dd'od!
Diau hwn saif hyd nes heb
Swynion y bydd tlysineb;
Ac Elis gwyddis a ga',
Ar ei ben y derbynia,
Yn llon goron o gariad
O law lwys ei anwyl wlad.

---

## Y BARDD.

Cyfansoddwyd yr awdl ganlynol ar brif destyn eisteddfod Machraeth, Mon, a gynnaliwyd Mai 29ain, 1855. Nid oedd yr awdwr ond 19 oed y pryd hyny, a rhyfeddodd lawer wrth weled canmoliaeth mor uchel i'w awdl yn y feirniadaeth. Dyma fel y dywedodd y beirniaid, sef y Parchedigion R. Parry, (*Gwalchmai*), a D. James, D. D., (*Dewi o Ddyfed*):—

"Y mae hon yn awdl ragorol: darlunia y bardd yn gywrain: myn brofi fod yn rhaid geni un i fod yn awenydd, ac nad yw y ddawn i'w chyrhaeddyd trwy ddysgeidiaeth ddynol;—

'Poeta nascitur non fit.'

Dyma fel y gesyd allan ei olygiadau; gofyna—

'A wneir y Bardd un awr byth,
Gan ddwylaw dysg yn ddilyth?'

Ac etyb—

'Na, na: nid dyna fel y daeth
Ef a'i deulu i fodolaeth;
Ei eni raid yn ei ryw
Yn brydydd, ffaith bur ydyw;
A wado hyn yn dŷn aed ef—
Aed heddyw i beidio addef
Ini fod i Miltwn fawr,
Neu ddyn fel Dafydd Ionawr,
Fwy o gywir fyg awen,
Yn y byd na'r gwana'i ben."

Dywed ein hawdwr mai nid dyn *cyffredinol* yw y bardd; efallai mai *cyffredin* fuasai oreu yma. Y mae *cyffredinol* yn nes i fod yn gyfystyr âg

*universal* nag â *common.* Ond beth yw brychau fel hyn i sylwi arnynt? Onid oes brychau ar wyneb yr haul? Deil yr awdl hon i'w darllen fwy nag unwaith."

Doed osteg—hynod destyn,
Yn gysur hael ges ar hyn:
Os wyf fardd, arosaf fi
'N awr i wiwdlos wir odli,
I un hoff feddianna hawl,
I firain gerdd anfarwawl;
Gyda hwyl rhof deyrnged hardd,
Ac eurfyg, i'r cywir-fardd.
Yn ddilys, oni ddylwn
I wneyd hardd ganiad i hwn?
Hefyd, credaf yn hŷf-fwyn,
Y cân *bardd* i *fardd* yn fwyn.

Gwalia! ti 'n enwog welwyd—yn mhob oes,
Am y beirdd a anwyd
Ar dy fron—a'r awrhon 'r wyd
Lawnaf o'r teulu enwyd.

Mwy yn gynhes minnau ganaf—yn fwyn
I'r iawn-fardd rhagoraf;
At y gorchwyl teg archaf
Yr Awen gu, yr hon gâf.

Ai yn ehud i wahardd
Eilio ryw bêr awdl i'r bardd,
I ddoniol adrodd ini,
Ran er lles o'i hanes hir.

Ei uniawn *fam* yw Anian fwyn,—yntau
Yw ei phlentyn addfwyn;
Yma yn deg y mae 'n dwyn
Ei nodau, in' ei adwyn.

Un ufuddach ni feddwn
O tan haul, na 'r plentyn hwn,
I'w hen fam, yr hon a fu
Yn ddwys-gall yn ei ddysgu;
Yn bur fâd bob ryw adeg,
A'i heres tâu wersi teg.
Er undyn byth ni wrendy,
Ar y sal athraw y sy

Yn siarad yn brysurol—y geiriau
A gair yn anunol
A'r gwir addysg tra gwreiddiol—a doethaid,
Rydd ei fam henaidd rwyddaf a mwynol.

Ei *briod* hynod anwyl
Yw ei geinwen Awen ŵyl;
A cheir ef yn ei charu,
Bob ryw awr yn fawr—ni fu
Wrthnysig ddig wrth y ddau,
Gelynol i galonau.

Ond eu huniad diwahanol—a lwys
Felysa 'n feunyddiol;
Y tidau annatodol—rhyngddynt sydd,
Onid dedwydd dynhau yn wastadol,

Wna y rhai 'n yn *awr* o hyd ?—ond ar ol
Myn'd draw i fythol-fyd,
Agosach, harddach, o hyd,
Yr an' ar bob ryw ennyd.

Ei *waith* ar ei daith bob dydd,
Yn benaf yma beunydd;
Heb ball, ydyw chwilio pur,
A hynotaf lyfr natur.

Ei ddalenau yn ddilynol—mae 'n droi,
Myn ei drin yn ddyddiol;
A chalon dra ymchwiliol—mae 'n darllain,
Yn hyf ei firain wersi 'n fyfyriol.

Y bywydol wybodaeth—ga 'n hynod
Gan Anian fwyn odiaeth,
Ei hael gyfranu 'n helaeth—a thirion,
Wna ê i ddynion yn ddiwahaniaeth.

Ac O! yr addysg a rodda !—O ! 'r uchel
Feddylddrychau ddyga
I'w waith, nes er ei waetha',
Gyra 'r dyn i garu 'r da !

Fe luna nefol anerch,
Gyda swyn a gwyd y serch,
O ganol didawl gyni
Anial brwnt i ganol bri !

O fyd y penyd a'r poen,
Yn fâd abl i fyd diboen!
Ceir hediad o wlad y loes!
Naid at ddeiliaid gwlad ddiloes!

Mewn eiliad, o'r man o alar—i fan
O fwyniant digymhar,
Awn yn gu i wenu 'n wâr,
Neu i ganu 'n o gynar.

Fe ga yr astud hawddgaraf Gristion,
Er pob gofid, a llid ei drallodion,
Yma hynt araul, yn nghwmni tirion,
Y bardd doniawl, drwy 'r wybr o wydd dynion!
Hedeg o olwg ei daeog alon,
A hyll alanas ei holl elynion,
A mawr alar marwolion—i'r nef wna,
Yna ê glywa y gwiw alawon!

Ei seirian hoff *bleserau*—yw gweled
Gwiwlon ryfeddodau
Ei fam anian—teganau
Addïen glwys, i'w foddio 'n glau.

O! 'r swyn fedd ei rhosynau—i'n gwron,
A'i hawddgaraf flodau;
Fe ddaliant ei feddyliau—i'w canmol,
Yn wir hynodol â'u haddurniadau.

Deil i weled y lili—yn rhyw em
A'i rhwyma i'w hoffi;
Ei llun hardd digoll i ni,
Yn felus a wna foli.

Efe a wrthyd brydferthwch—a fedd
Celfyddyd am harddwch
Diail anian, dilynwch—ei daith war,
Dyna 'i waith hygar yw dwyn ei thegwch.

A'i Awen, heb len, o'n blaenau—yn hyf,
Mewn nefol feddyliau;
E sieryd am ei thrysorau—bob un,
Yn ei hoff arlun gwelwn ei pherlau.

Wele, hynodol luniedydd—ydyw,
Gyda 'i deg awenydd;
Cynllunio—gwir baentio bydd,
A'i lawn bin, luniau beunydd.

Ië, byw luniau 'n abl hynod—a dŷn,
A doniau llawn syndod;
Yna fe dybiwn fod—gwrthddrychau pur
A'u dulliau 'n eglur, nid lluniau hyglod.

A thra tywyn-boeth ddoeth eiriau tanbaid,
A ddeil ei araul feddyliau euraid,
Ei linell egyr o flaen y llygaid,
Le sy' wir hoffus—ardal seraphiaid;
Ac ar hon y câr enaid—syllu 'n faith,
A cheinwedd obaith, drwy 'i ddrych yn ddibaid.

I hwn wyth gwell na cherddoriaeth gu—lwys,
Mewn palasau mwyngu,
Dir yw cerdd yr adar cu,
Acw yn y wig yn canu.

Ar fin rhyw loew bur afonig,—yn sŵn
Ei sî—peraidd fiwsig—
Y ceir o, yno 'n unig,
Lawer tro, aml awr y trig.

A gwiw hynodol ganiadau—y llwyn,
Sy 'n lloni 'i serchiadau;
Yn swynol iawn, eu seiniau
Ar ei iawn glust dery 'n glau.

A sŵn trwm dwys wynt a rydd—iddo fawr,
Wir ddifyrwch beunydd;
Ei dônau yn adenydd,
I'w fwyn ddychymyg a fydd;

A'i ddwys gân yn addysg hynod—amlwg
Am wir *deimlad* hyglod;
Gwna i'r dagrau 'n ddïau dd'od,
Yn ddafnau, wrth wrando 'i leddfnod.

Yr ardd hardd a rydd i hwn,
Wersi diri' hyderwn;
Ei ddawn o hyd genfydd yn hon,
Ryw lwyr hygarawl ragorion,
A swynion gwir *dlysineb.*

Y fellten elfen folltawl—a rwyga
Yr agerdd awyrawl;
Hyd ein byd, mor danbeidiawl
Yw ei gwedd, a'i henwog wawl!

Ceir anian fwyn yn crynu—o herwydd
Y daran a gyffru;
A'r sŵn sy 'n dirfawr synu,
Draw o'i flaen y dewraf lu.

Yn enwog iawn yn hyn y gwel—yr hyf,
Y rhyfedd *aruchel:*
Pa enaid yw, pan y del,
Na syna â'i ddwys anel?

Yr haul, sydd yn rheoli
A'i dda nawdd y dydd i ni,
Yn firain wna ddifyru,
A'i wawl cain, ei feddwl cu.

A daw 'r nos i deyrnasu,—ond hefyd
Er dwyfol addysgu
Ein Bardd—mynych iawn y bu
'N aros allan, er syllu,

Ar y sêr mor ddysglaer sydd,
I'w gweled gyda 'u gilydd,
Fry, fry, uwchlaw, draw, fel drych
Myrddiwn o emau harddwych.

Bri iawn hynod "brenines—y nef," raid
Wneyd ei fron yn gynhes,
Wrth hynod draethu 'i hanes,
Yn llon, ëi cheinion a'i lles.

Y bore ddaw yn burawl,
A myrdd o destynau mawl;
Yna 'n Bardd, a'i wyneb ef
Yn wênawl fel y wiwnef,
Geir yn fâd ar doriad dydd,
Yn rhodio—dyna 'r 'hedydd,
Yn rhoi cân i'n harwr cu,
Er ei foddiawl ryfeddu.

Pob golygfa rodda 'n fawreddog,
Iddo haelaidd bur wledd ddihalog;
Casglu, heb ballu, bydd e'n bwyllog,
A rhwydd orchwyl, drysor ardderchog;
Yn wenynen fwyn enwog—casglu bydd,
Yn gu a dedwydd fêl godidog.

Hir edrych ar raiadrau—yn swnio
Yn synawl dros greigiau;
Hynt od eu tywalltiadau,
Fydd o hyd yn ei foddhâu.

Dymunol ydyw y mynydd—uchel,
Lle iach i'r Awenydd;
I'w ben y dringa beunydd,
Ac O! 'r fan hawddgar a fydd!

Ac yna 'i iawn olwg yno 'n wiwlan,
A sai ar hynod drysorau anian;
Fe ddaw dirif ryfeddodau eirian,
Oll i'w foddio, a mawr allu feddan';
Yn gain fe ga'n y fan—lawenydd cu,
O! gwel e'n nythu 'n ei galon weithian!

Anifeiliaid yn filoedd—yn rhodio,
Neu 'n rhedeg yn lluoedd,
Hyd hoff ranau dyffrynoedd,
Yn wir gu i'w gwel'd ar g'oedd;

Yr afonydd derfynant
Yn y mor, mor gyflym ânt;
A choedydd, mor wych ydynt,
A 'u penau yn gwau 'n y gwynt;
Gyda swynion bron heb ri';
Pur delaid ysprydoli,
Wna y rhai 'n yn wir hynod,
Yma 'i gu ddychymyg od.

Yn ŵyl ê egyr yn ber-lewygol,
Lygaid ei enaid, ac yn adeiniol,
Yma ê gwyd mewn dychymyg hudol,
I ado dorau y byd daiarol,
Fry yn hyf i fro nefol—hedeg wna,
Yna fe syna mewn gwlad fwy swynol.

Hynafiaeth gâr hwn hefyd,
Hynafiaeth helaeth ei hyd:

Tra hynod dyrau henaidd—a godant
Gyda gwedd ordrymaidd,
Yn uchel a mynachaidd,
A'u pryd yn erchyllded braidd;

A bydd am lonydd demlau unig—gawn,
A gwedd gyssegredig;
A'u muriau dan henaint mawr dig,
Yn lwydion adfeiliedig;

A rhyfedd lysoedd, or-hyf ddaliasant
Bob gwynt gorwyllt, neu fawrwyllt lifeiriant;
Adeiladau, hir oesau heriasant
Orau 'r elfenau garwaf eu hyniant;
O'r manau hyn ceir mwyniant—digwmwl,
Yn hir ei feddwl a dyner foddiant.

Pa lesiant fedd palasau—i foddio
Ei feddwl pur golau?
Ac aur enwog ei riniau,
Ni fedd hwn ddim i'w foddhau.

Ymgyrhaedd am y goron—o olud
Y gwelir dynolion;
Iddo ef ni fedd hon—ddeniadol ddrych,
Yma ni chwennych mo un o'i cheinion.

Ond ei goron deg euraidd,
Mae 'n garu 'n gu gydag aidd,
Yw *gwirionedd* gor-uniawn,
Yn erbyn byd ynfyd iawn.

Er lles fe ddengys i'r llu—yr anwyl
Wirionedd heb ballu;
Yn ei liwiau gorau 'n gu,—mor swynol,
A rhagorol, nes in' ei wir garu,

Pwy yw efe draw ar heol—dinas?
Nid dyn cyffredinol:
Ei wedd ê sy 'n bruddhaol—yn y stwr,
A sain twrw rhyw si annaturiol.

Iddo fe, y mwynaidd fardd—
Ni châr o le dynol dwrdd;
Yma i hwn 'd oes dim hardd,
Ys o'r ffau prysura ffwrdd.

Ond hai! pwy eto 'n wiwlon a welaf,
Yn mhlith rhosynau gorau hygaraf,
Anian a'i gwela, fe wena 'n fwynaf,
Gan sirioli ei lili anwylaf;
Yntau 'n gwenu 'n gu a gaf—yn serchog,
O hyd ar ei enwog fam dirionaf.

Y Bardd yw, wedi ebrwydd dd'od—i'r fan
Ca wir fwyniant hyglod;
Ie 'r fan y carai fod,
Hyd ei oes enbyd isod.

Ein gwir odidawg wron,
Hynod wr yr ennyd hon,
Yn ei fawr-gain dda lyfrgell,
Yma geir—p' le mae ei gwell.

Ei lyfrgell, un well yw, yn wir,—nag oll
O lyfrgelloedd welir,
Gan fawrion ddynion—yn ddir,
Yn deg o hon y dygir.

Yn addas, y defnyddiau—geir i wneyd
Gwir hynodawl lyfrau,
A'r a synant bersonau—ddarllenant,
A hwy lynant wrth y tudalenau.

Ond dwg ein gwron digoll,
Ei ddawn at y defnydd oll;
Hoff iawn lygad y ffynnon,
A fyn ê yn y fan hon.

Ni raid wrth ddynwaredu,
I wir.fardd, yr awdwyr fu.[1]

[1] Nid ydyw yr awdwr yn diystyru y ddawn ragorol a defnyddiol i gyfieithu neu efelychu.

Ebrwydd ddoda 'n bur ddedwydd—ei ganiad,
Mor gynhes a'r 'hedydd ;
Ac mor dlos a'r ëos rhydd
In' ei guawl iawn gywydd.

Gorchwyl ei anwyl enaid,
Iach pur, yw edrych heb baid
Ar wiwdeg heirdd weithredoedd
Nêr, a geir o hyd ar goedd ;

Ac ydynt yn wisgedig—a mawredd
Anghymharol unig ;
Onid draw 'n eu plith y trig
O, yn awdwr swynedig ?

Wele egyr ei lygaid—ar natur,
Hynotawl i'w enaid ;
A'i theimlo bydd o heb baid,
Yna 'i dilyn yn delaid.[1]

Er hyn mae 'n hoffi rhanau—clau a fedd
Celfyddyd yn ddïau ;
Gwir unir eu henwau,—celfyddyd lawn,
A natur uniawn, ynt ar ei enau.

Uno 'r doeth, y teg, a'r da,
Yn geinwych wna 'n ei ganiad ;
Rhoi byw ddysg i wr bydd o,
A'i swyno mewn ymsyniad.

Yn ei gân lân gwna i lu,
Wir garu y rhagorol ;
Mewn gwg at y drwg fe dry,
Hwn dery 'n hynod wrol.

Ei waith od, mor goeth ydyw !
A theg iawn ond nerthawg yw ;
A'i effaith cu 'n glynu 'n glau,
Mae 'n nodi 'n dymuniadau.

Mae rhyw drysor rhagorol—yn llenwi
Pob llinell anfarwol ;

[1] Tair egwyddor hanfodol athrylith awenyddol—llygad i ganfod natur, a i deimlo natur, a phenderfyniad a faidd ddilyn natur."—Trioedd.

A chysur tra iachusol,
Da iawn, a edy o'i ol.

O! fel y mae 'n gafaelyd—yn y serch,
Gyda swyn bob ennyd;
Cywir hawdd mae 'n cyrhaeddyd
Y galon—hon dawdd o hyd.

Er it' ymladd, rhaid teimlo
O dan ei ddylanwad o.

Gwelwn gŷr y galon gareg—yn friw,
Dan y fron heb attreg;
O'r graig myn y deigryn yn deg,
Heb hir oedi, mewn ber adeg.

Gyr y Bardd a'i gywir bin,
Enau weithiau i chwerthin;
Ennyd arall e' dery
Y galon—hon dawdd yn hy';
Yna 'n ddîr y deigryn ddaw,
Ni a welir yn wylaw.

Wr mwyn! beth yw ei wobr mad?
Dilys ni chaiff yn daliad,
Byth ar ein daiar dywyll,
Ys hen bau trawsineb hyll,
*Ond* di-baid anfarwoldeb byw—.
Hyn ei wiwdeg ran ydyw:
Iddo yma ni wna neb,
Byth ildio ond bytholdeb.
Holl fawrion a beilchion byd,
Gânt eu mwyniant am ennyd;
Ond hunant gyda 'u henwau
Gwael, yn y bedd, gul iawn bau;
A'r cybydd sydd am oes wan,
Yn ei ryw dan yr huan;
Du ddyfodiant ddaw i'w fedi,
Yn wael ei fraint ni wel fri;
Ond derfydd, gyda'i yrfa,
Enw y dyn—fel cysgod â
O'r golwg, i ddirgelaidd
Bwll ango' o'n bro 'n llwyr braidd.

Ond enw 'n gwron doniol—ni ysir
Gan oesau dyfodol;
Hwn a bery yn burol,
Adeg hir yn deg o'i ol.

Tonau dyfodiant hynod—ni threuliant
Ei athrylith hyglod;
Ei gof dilyth fyth gaiff fod—
Bydd ei yrfa heb ddarfod.

Wele 'i waith fel lili wen—sy 'n gudeg,
Sai 'n gadarn fel derwen:
Pur yw ei swydd—pwy ry' sen
I'w gywir enwog Awen?

Och fi! rhaid enwi 'r awr hon—ei nerthawl
A'i hy' greulonawl bagr elynion.

Och! arfogawl chwerw fagad—a fagodd
Cenfigen gwyrdd-lygad;
Maent yn erwin gethin gâd,
Yn estyn at ddrwg yn wastad.

Y ffyrnigol lu gelynol,
Yn unfrydol—pawb yn fradwr—
Sy 'n ddiflino am ddiraddio,
Neu am gwympo 'n dinam gampwr.

Ond ar enwau 'r bradwyr hynod—i gyd,
Pydredd geir ryw ddiwrnod,
Pan seinir yn glir iawn glod
Eglur, i'n gwron hyglod.

A *wneir* y Bardd un awr byth
Gan ddwylaw dysg yn ddilyth?
Na, na, nid dyna fel y daeth
Ef a'i deulu i fodolaeth;
Ei eni raid yn ei ryw
Yn brydydd, ffaith bur ydyw;
A wado hyn, yn dŷn aed ef—
Aed heddyw i beidio addaf
Ini fod i Miltwn fawr,
Neu ddyn fel Dafydd Ionawr,
Fwy o gywir fŷg awen,
Yn y byd na'r gwana'i ben.

Aml un gwamal annoeth,
Awdwr dwl, nid o'r rhai doeth,

Na chynwyd erioed wreichionen—o fewn
Ei fynwes o awen,
Fyn y bydd o fewn ei ben
Dda nodol wiw-ddawn Eden.

Yn wir, fe freuddwydia 'n wrol—ei fod
Yn rhyw fardd gorchestol,
A gerir yn rhagorol,
'Herwydd ei waith *hardd* o'i ol.

Ond hawdd yw adnabod hwn
Yn ddilys mi feddyliwn;
Os sylwir ar ei sâl-waith,
Ei ddi-swyn anweddus waith—
Dywedwch, a welwch chwi
Gu urddas yn ei gerddi?
Rhyw eiriau ddegau a ddŷd,
Heb fyw awen—heb fywyd.

Chwilio am arucheledd—wna y gŵr
A geiriau disylwedd;
Fe haera fod gwir fawredd,
Yn ei waith egwan ei wedd.

Darfod a wnelo y dyrfa—i gyd
O feirdd gau ysmala;
Gwehilion na chaed Gwalia
O feirdd—ond heirdd awdwyr da.

O! na fuddiol ddarfyddai
Yn y byd yr ynfyd rai;
Ar a dybiant—rai dibwyll—
Y ceir bardd cywir ei bwyll,
Yn gywir berchenog awen,
O! y dyn na anwyd ê
'N iawn fardd wnai nef ei urddo,
I'w swydd anrhydeddus o:

O! ddyn na chafodd ei eni—yn un
Eneiniawg ei deithi;
Hynod ŵr a anwyd i
Wych hawlfraint o uchelfri.

O! *fardd iawn!* un o fyrdd yw,
A hynodol un ydyw;
O! y bywiol fab awen,
Yma 'n y byd mae e'n ben,
(Mawr ddyn!) ar y myrddiynau,
Am wir fawredd, nid gwedd gau.

Ond, och! pa mor enbyd yw
(Wele hawdd wylo heddyw),
Y meddwl sy'n llym addef
Yn abl im' ei helbul ef.

Y druenus hyll driniaeth—yma ga'dd
Am ei gu wasanaeth;
Yn oesau llawn hanesiaeth,
Dan ei gur cafwyd e'n gaeth.

Am ei geinion mŷg ini—i'n difyr
A'n dwyfol hyfforddi;
Ac am wneyd gemau i ni,
Y tâl ydoedd—tylodi!

Yn ddinawdd ca'dd ei einioes,
Yn y byd bawlyd bob oes:
Heb gyfaill byw i gofio
Y dyn ond ei Awen ô;
Yn ŵr llesg adawai 'r llu
Annynol i newynu!

Hynod oeddynt—wedi iddo—ddianc
O'u gŵydd hwynt mewn amdo;
Yna, hwy elent dan wylo,
I addoli 'i lwch eiddil o!

*Homer* anwyl, merwino—wna f' enaid
Pan f'wy'n dy brudd gofio,
A mawr ofid yn ymrwyfo—'n y llif,
Hen aethau dirif angen i'th daro.

Yr un modd ca'dd llawer un mawr—o'n gwlad,
Ei gludo mewn elawr;
Ni châf fi eu henwi 'n awr—gan waith llym
Hyf a diderfyn ddu ofid dirfawr.

Llesol hynodol gyfnewidiad,
Yn arbenig gaffo dderbyniad,
Yn Nghymru wiwgu—rhoed gefnogiad,
I wir brydydd arab ei rodiad;
Bydded achles i'w gynhes ganiad,
Hyn i wir fawrion fo 'n arferiad.

Tra bo sêr gweler ein Gwalia—anwyl
Yn enwog lochesfa;
I'r gwir fardd rhagoraf, a
Wna wiwgerdd a'i henwoga.

Gwŷr enwog fel Goronwy—Ddu o Fon
Ydoedd fardd clodadwy;
A aned—maged hi mwy,
Draw o'i Mhôn i dir Mynwy.

'Steddfodau ddegau caed ddigon—i'w rhan,
A'r rhai hyny 'n llawnion;
O herwydd llu o feirdd llon,
A noddwyr awenyddion.

## YR AMAETHWR.

[Yr awdl ail oreu yn Nghylchwyl Lenyddol Bangor, Ionawr 1af, 1856. Y mae yn ddrwg genyf nas gallaf gael lle ond i ychydig ddyfyniadau o'r awdl hon.]

O! Amaethwr, nis methaf
Ganu it'—gweu 'n serchog wnaf;
A hawdd canu 'n gu i'r gŵr,
Sy'n ethol wasanaethwr
Goreu ar y ddaiar hon,
Anwylaf fedd dynolion.

* * * * *

Nid i gynllun dymunawl,
Heddyw'r wyf am feddu 'r hawl;
Ond i deithio bro a bryn,
Yn y byd fel gwybedyn;

Heb un lliw o gaethiwed,
Yn bur lwys i wibio ar led,
Af i'r fan ddifyr fynwyf,
Yn ol f' awenyddol nwyf.

O! Amaethwr, borthwr byd,
Ei nerth ddibyna wrthyd.

O dy law y daw, ŵr diwyd,—luniaeth
A gyflenwa 'r hollfyd;
Ac heb hon gwywai y byd,
Yn fuan collai 'i fywyd.

* * * * *

O! dra hynod erchyllaf drueni,
O! enbyd alar fydd yn bodoli,
Pan fo ryw ganoedd mewn poenfawr gyni,
Och! heb dy gynnyrch byw i'w digoni;
Mae pob rhai 'n cwympo heb ri—i'r beddrod,
Newyn du hynod yn eu dihoeni!

* * * * *

Ond hedd a phob dedwyddwch,
Yn lle hynod drallod trwch,
Yn foddus a ganfyddir,
Yn teg addurno y tir;

Lle 'r wyt ti mewn bri ger bron—â lluniaeth
Yn llenwi 'r tir ffrwythlon;
A'th drysor hoff yn goron—
Un dra hardd i'n daiar hon.

Heb y goron hon bob ennyd,
Ha! ni bai coronau byd.

* * * * *

Dymunol, siriol drysorydd—i ddyn
Dros Dduw ei Greawdydd
Yw efe—myrddiynau fydd
Yn gwenu ar ei gynnydd.

Hyd hynodol feusydd siriol,
Yn hyfrydol difyr rodiaf!
Wrth im' weithion syllu 'n dirion
Ar eu ceinion pur y canaf:—

Feusydd mwyngu! 'r wy'n eu caru,
Ac yn synu gan eu swynion;
Pob rhagorawl faes ireiddiawl,
Yn hygarawl dan ei goron!

O dan goron o fendithion
I ddynolion—hardd iawn elw
I'r newynog! yn odidog,
Araul enwog ddirfawr lanw!

* * * * *

Ond drwy bwy mae Awdwr byd—yn llenwi
A lluniaeth yr hollfyd!
O, swydd hoff! pwy sydd o hyd—ynddi?
Pa ŵr wy'n holi? pwy yw 'r anwylyd?

Clod helaeth i'r Amaethwr!—e' ydyw 'r
Odiaeth gymmwynaswr;
A chlod teg hynod i'r gŵr,
A geir gan bob dyn-garwr.

Heb yr Amaethwr, f' arwr anfarwol,
Heb ein haddas fara beunyddiol
Y byddem—a chanfyddem mor fuddiol
Yw ei helaeth wasanaeth orswynol;
O! chwi foneddion fwynhewch fwyneiddiol
Ffrwyth ei lafur a chysur iachusol,
Na wedwch mo hynodol—was y wlad,
Rhowch o wir gariad i hwn barch rhagorol.

O! Amaethwr, gŵr a garaf—fi wyt,
Pa fodd y'th anghofiaf
Di weithian, pan y penaf
Gysur o dy gur a gaf?

* * * * *

Dy ddwylaw di a ddaliant
Lafur y byd o lwfr bant;
Heb dy ddawn lawn haelioni,
Ni f'ai llong yn nofio lli.

Yn llu o'r herwydd, sefyll yr awrhon,
Yn wir lonydd, wnai diri' olwynion
Masnach—äi 'n afiach ar wyneb Neifion,
Ei phlant, a deithiant gyda 'i bendithion;

Dros dir neu ar draws y dôn—pryd hwnw
Ni ddeuai un elw i ddynolion.

*     *     *     *     *

Beth oedd Addaf gyntaf gŵr—a ddelai
  O ddwylaw 'n Creawdwr ?
 O ! am waith yr amaethwr,
 Ef a gaed yn fywiog ŵr.

  Wi ! Amaethon tiriona',
  Drwy y dydd sy'n awdwr da :

Ef dda Bor a ffurfiodd y byd—ydyw
  Awdwr ei gelfyddyd ;
 Ac ef a'i dysgodd i gyd
 I Adda 'n ei ddedwyddyd.

*     *     *     *     *

Cyn difa nerth prydferthwch—ein daiar,
  Cyn andwyo 'i thegwch,
 A phechod, er trallod trwch,
 Anurddo ei hiawn harddwch ;

*     *     *     *     *

 Amaethyddiaeth odiaeth oedd !
 Rhyw gudeg adeg ydoedd

 I'r amaethwr—'r oedd ei gyflwr,
 Yn ddigynwr, hardd a gwenawl ;
 Nid oedd llafur, ond er mwynbur
 Hedd a chysur, fodd iachusawl.

 'R oedd arddwriaeth yn ei hafiaeth
 Mewn llawn nwyfiant ;
 Teg lewyrchai, yn gu gwenai,
 Mewn gogoniant.

 *Trwm* wasanaeth amaethyddiaeth,
 Yn awr odiaeth angenrheidiol,
 Nid oedd eisiau hwn yn ddiau,
 Yn y dyddiau mwyn dedwyddol.

Ein daiar hygar pryd hyn—hon ydoedd
  Lân odiaeth ei phriddyn ;
 Heb na digoll boen dygyn,
 Neu fawr chwŷs er difa 'r chwŷn.

O! mor siriol hynodol yn Eden,
Drwy 'r dydd oedd ei llywydd—Amaeth llawen;
Yno yn garddu, a'i gu deg Awen,
Yn ei ddifyru wrth ganu 'n ddigynhen;
Tra 'n rhodio yno, fe gai 'r wenynen,
Yn yr holl lysiau 'n ddiau fêl addien;
Yno bob pryd ceid bob pren—(cyn bod drwg)
Yn hardd ei olwg—yn îr ei ddalen.

Wèn Eden! mor gain ydoedd,
Pwy 'n awr a dd'wed deced oedd?

Dihafal ydoedd ei hynod flodau,
A'i gwir swynol orhawddgar rosynau,
A'i gwyrddwiw lesol ac iraidd lysiau,
Nid gwael yn orchudd i deg lanerchau;
Mor hoewdeg hoff redeg wnai ei ffrydiau,
Rhwng dedwydd lenydd mewn rhyfedd luniau;
Gan fâd siarad pleserau—aent yn wych,
A hardd lewych dros euraidd welyau.

* * * * *

Yn ei nerth ceid prydferthwch—drwy 'r ardd hon,
Yno 'r oedd digon o hardd degwch!

Ond ow! wahaniaeth du hynod—ddygai
Y buddugwr pechod;
Enbydawl anurddawl nod,
Roes ar y ddaiar isod.

Hwn, wedi iddo niweidio Addaf,
Yr abl enwog amaethwr blaenaf,
Wnai gyflafan ar Anian dirionaf,
Ar ei syw wyneb rhoe echrys anaf;
Och! ei allu erchyllaf!—rhydd wywdod—
A'i wenwyn parod i'r swynion puraf.

Ei lliwio â chwŷn yn lle ei cheinion,
A wnai y gelyn llidfawr yr awrhon;
Ysgall yn llu wnai yru 'n annhirion,
Yn lle rhosynau y llawr a'u swynion;
O! na welai dynolion—ei ddrygau,
Na chaed gartrau yn nghiliau fy nghalon.

Ond weithian pa wasanaeth—i anian
Oedd iawn amaethyddiaeth ?
Drwy ryfedd rin ei thriniaeth,
Diau 'n deg wed'yn y daeth.

O! wele ddedwydd gelfyddyd odiaeth!
I'r llu dynol fuddiol etifeddiaeth!
Hoff eres ini ei phur wasanaeth!
I ddynion hulia ddaioni 'n helaeth!

* * * * *

Wel un hynotawl yw Anian eto,
Dan law 'r Amaethwr, y gŵr diguro;
E gawn ni ei hanwyl geinion yno,
O hyd yn diwyd harddwych flodeuo;
O! anian lwys dan ei law o—heb sen,
E gawn ryw Eden wir gain i'w rhodio.

O! Amaethwr borthwr byd,
Ei nerth ddibyna wrthyd.

* * * * *

Agori ddrysau 'r gweryd,—anfoni
O'i fewn ef dy hadyd;
Eithr o hwn ymborth ryw ennyd,
A ddaw ar g'oedd i bobloedd byd.

* * * * *

Y diffaethwch, anedd tristwch,
I dywyllwch a du ellyll;
Yr haul mwyngu oedd yn methu
A llewyrchu i'r lle erchyll!

Est heb fethu i'w amaethu,
Yna gwenu wnai yn ganaid:
Ei anferthwch droai 'n harddwch,
Yn fwyn degwch gwir fendigaid!

Odiaeth wahaniaeth heno—yma gaf,
Mae gwair yn blaguro;
Daiar sydd yn blodeuo
Yn gain lle 'r oedd drain ryw dro!

Mor hynodol a rhyfeddol,
Ydyw swynol da wasanaeth
Yr Amaethwr—O! fwyn arwr
A gwych awdwr tegwch odiaeth!

Daw dydd y bydd wedi dwyn
Ein byd i gyd yn deg ardd,
Llawn blodau rhosynau swyn—
Bydd yn hyfryd fyd i fardd!

Na wrided y gŵr odiaeth—o achos
Ei uchel wasanaeth;
Y gwir hyn yw—y goreu wnaeth
Iôn, yw ei deg alwedigaeth.

Od oes mawredd yn yr enw boneddwr,
I hwn y perthyn—ef yw ein porthwr;
A gwir ragorawl feunyddiawl noddwr
I ni oll ydyw fel ein dilladwr;
Pawb a geid pe heb y gŵr—yn trengu—
Trengu trwy rynu wnai 'r llanc a'r henwr.

* * * * *

Difyr ydyw ei waith da hyfrydol,
Llawn o hedd pur a chysur iachusol,
Byth i wel'd prydferth waith Ior nerthol,
Byth i synu ar ei bethau swynol:
Ac a ryfeddwn mai un crefyddol,
Wrth fyw ydyw 'r Amaethwr hynodol?
Gweithredoedd Iôn mawrion anghydmarol,
Gwelwch i'w annedd ydynt gylchynol;
O hyd y rhei'ny mai fe 'n dirionol
Weled dan ufudd foli 'i Dad nefol;
E' ga astudiad gwastadol—mewn hedd,
Ar iawn fawredd Creawdwr anfarwol.

Ei enaid a'i gorff yn nghyd gânt—iechyd,
Ac achos gwir fwyniant;
Dau fwyn hoff—cyd-dyfu wnant,
Yn addas cyd-gynnyddant.

Iddo fo fel peraidd fêl,
Mae bywyd yn mhob awel;
Pob chwa a anadla hedd,
Fan yna i'w fwyn annedd;

I'w fron deg o fryn a dôl,
Y daw mwyniant dymunol;
I'w feunyddiol sirioli,
A'i fywydawl loewawl li',
O! mor gu rhydd yr huan,
I hwn ei glir wenau glân;
Y llwyn sy'n awr yn llenwi,
O gerddoriaeth odiaeth i
Ei dda hynod ddyddanu;—
Rhydd y côr eu cerddi cu,
Nes toddi 'i feddal galon,
Fel y rhydd wir fawl i'r Iôn.

---

## RHAN II.

O'i fawr-wedd burawl fe rydd y borau,
Yn gu ar Anian ei hawddgar wenau—
Yn eu bri enwog gwelaf y bryniau,
Heb ffael eu gadael wna'r nos gysgodau;
A'r wawr hyd ororau—ddengys weithion,
Pa wiwbur swynion fedd pob rhosynau.

Yn awr eglur welaf yr hyglod,
A thra anwyl Amaethwr hynod,
I'w dda lafur yn bur—mae'n barod,
A hyf yrfa i'w fwyn gyfarfod.

Rhydd ei gu-lwys hardd geiliog—ei hir-lef,
Awrlais Anian serchog;
Ac yn llu y beirdd pluog—a byncîant,
Enwog y dodant seiniau godidog.

Yna'n ffraeth yr Amaethwr—a felus
Fola 'i Greawdwr;
A hardd gân a rydd y gwr,
Yn hwylus i'w Gynhaliwr.

Ar aden yr ehedydd—yn geinwych
Esgyna 'i awenydd;
At lŷs mad hoff Dad y dydd,
Byw roddwr y boreuddydd.

Ac ar hyn â'r gwr anwyl,
At ei waith mewn hyfryd hwyl;
A phob gwas at addas waith,
Diammheu sy'n myn'd ymaith.

* * * * *

Un o'i gu weision a gaf,
Ar y maes—lanc grymusaf,
A'i hoff aradr—brif offeryn
Yr Amaethwr, dacw'r dyn.
Ger ei fron y gwys lonydd,
I fyny ddaw—hon draw drydd,
Gesyd pob cwys yn gyson,
Yn llyfndeg fel rhyw deg don;
Ei gwys lawn mor uniawn yw!
Llen dda od—lluniaidd ydyw;
Dwg mewn trefn ei gefn i gyd,
A gofal, yn deg hefyd:
O'i ol yn hynodol ŵr,
E geir fy mywiog arwr;
Ha! gwelaf, canfyddaf o,
Fy arwr yn llafurio;
Yn bwyllog, ond heb ballu,
Y cerdd yr Amaethwr cu,
Mewn trefn ar hyd y cefnau,
Ac o hyd yn diwyd hau:
Ei anwyl law bob ennyd,
Dwrn heb ail sy'n darian byd;
Fel peiriant dyfal parod,
Yn awr â yn bybyr od;
O! mor fâd yr had a rydd
Dan y gwys—da negesydd!
Er ei roi ef yr awr hon,
O'r golwg i ddirgelion,
Tô yr âr, daw trwy weryd,
Yn werdd ei fron a hardd fryd,
O'i bedd y daw pob heidden,
Cyfyd mewn bywyd hardd ben;
Diattal y daw eto,
Yn eirian brid addurn bro!

* * * * *

I un arall o'i feusydd yn wrol
Yr âf, hygaraf olwg ragorol

Yn hwn ŷr fy Awen dyner fywiol,
I beraidd ganu dan synu 'n swynol,
Defaid hyfwyn a'r ŵyn yn dirionol,
Yn eu hoff ganlyn y gwanwyn gwenol;
Mor ddiniwaid defaid! braidd dwyfol,
Ydyw eu hagwedd mewn hedd mwyneiddiol,
Eu têr ŵyn ynt ar eu hol,—anwyliaid
Ydyw y gweiniaid, rhai hardd-deg unol.

* * * * *

Da odiaeth i'r Amaethwr,
Da i mi ac i bob gwr,
Ych chwi, ddifyr wych ddefaid,
Wele ar hyn eich canmol raid.
Ag ymborth gwnewch ein porthi,
A chain wedd y dilladwch ni.

Oerfel byth ni ddel ar ddyn,
Dyn sy glyd dan wisg o wlân,
Heriaf y gauaf dig wŷn,
Yn eich gwisg a gwnaf ich' gân.

Mewn maes arall heb ballu—O! mor gain
Mae'r gwenith yn tyfu;
Ei swyn tonog sy'n tynu
Pelydrau'r haul araul lu.

Y gwlith boreuol yn glau—a'i gwisga
Dan gysgod ei berlau;
A bydd ei wedd yn boddhau—angelion
O'r ser yn ëon ar eu siwrneiau.

Ei weled yn cael ei fedi
Ddymunaf, a *fynaf* fi;
Amaethwr da ŵr, tydi
Welai 'n awr yn blaenori,
A gwawr fad, hygar fedel,
Un gu iawn i'r hwn a'i gwel,
Hafal i fyddin hoew-fad,
Un deg iawn ydyw y gâd.

Mae 'r haelwyr am wrolwaith,
Ymladdant ni chwympant chwaith.

Wedd hŷf â'u ceimion gleddyfau—cwympa'n
Pencampwyr o'u blaenau
Yr yd o hyd i barhau,—ni safant
Yma—ond dodant e'n gaeth mewn tidau.

Dewr filwyr! nid rhyfela—i fagu
Cenfigen a thraha
Wnewch chwi 'n awr yn wych, O! na
Fy nghalon lon a lyna

Wrthych, rai dewrwych a da,
A melus eich canmola;
Diau gwŷr ddylid garu
Ydych oll, rai da a chu.

Ond p'le byddai 'ch pur lafur dolefaf,
Heb yr Amaethwr y gŵr rhagoraf;
Ef yn rhyw ffynnon wiwlon a welaf,
Chwithau yn ffrydiau goreu hygaraf:
O! lanerch hardd ffrwythlonaf—ge's ar daith,
Ag yma eilwaith, le teg, ymwelaf.

Un a gerir gan Anian hygarawl
Yw y rhagoraf Amaethwr gwrawl;
Bob amser gwna ei weini 'n dynerawl,
Iё 'i nawdd addas dderbynia 'n ddyddiawl;
Enfyn iddo 'n feunyddiawl—ei helaeth
A hardd wasanaeth yn rhwydd a synawl.

A! ni fuasai ei feusydd—mwynaf oll
Ddim yn fawr eu cynnydd,
Heb i Anian dd'od beunydd
Heibio â'i dawn ar bob dydd.

* * * * *

Diau elfenau cadarnaf Anian,
Yn weision ethol a'i gwasanaethan',
Y cymylau o'u gororau eirian,
Yr haul a'i siriol dyner wawl seirian,
A'r gwibiog felltenog dân—mewn golau.
Wrth alw o'i dyrau y nerthol daran.

Mae 'r gŵr llawen yn blentyn—hynotawl
I natur drwy 'r flwyddyn;
Yn delaid mae 'n ei dilyn—
Mae fel y bardd hardd yn hyn.

A pherchen awen yn wir
Hwn ydyw 'n aml—ni wedir;
Cana wrth wel'd y ceinion
Fedd y ddaiar hawddgar hon.
DEWI WYN! mor hynod oedd
Ei awen! odiaeth hon ydoedd;
E rodiai lawer adeg
Ei feusydd a'r dydd yn deg;

Yn hyfrydol ei awen fry hedai,
At Dduw Ner heibio 'r ser fe brysurai,
Yn hyf a rhai anwyl nef yr unai,
Ac O! fel yr eres gynhes ganai;
Un awr Eden a rodiai—hi yn rhwydd,
Yna â mawl ebrwydd drwy 'r ne' ymlwybrai.

Ys glwys yw dy einioes glau—Amaethwr,
Nis methi yn ddïau,
A ryw fwyn hwyl wir fwynhau,
Yn siriol bur bleserau.

Wele, yn nheml Anian,
Yma drwy oes mae dy ran,
I wir fuddiol ryfeddu
Waith mad ein Tad ar bob tu;
I synu goruwch swynion
A welir ar dir neu don
Ac i dilesg addoli
Duw Iôr wnaeth ein daiar ni.

Ar hyd dy fywyd heirdd olygfaoedd,
Gei i'th adgoffa am Nef y nefoedd,
Lle ceir, dan grechwen rhyw lawen luoedd,
Heirdd a phur anwyl iraidd ddyffrynoedd,
Dan goron o geinion, nid wrth ganoedd,
Na miliynau hyd olau ardaloedd;
Naf â wyr eu niferoedd—yn unig,
Gwnant lenwi gwedd dirifedig fydoedd!

Nid oes yno ddim yn gwywo,
Yno, yno, mae hi 'n anwyl!
Ond drwy 'r oror blodau ragor,
Yn byw agor ar bob egwyl!

Un o'i chlau rosynau sydd
Yn harddach, decach, digoll,
Na 'r rhosynau blodau blydd
Fedd ein daiar hygar oll!

Wele faes—hir sylwaf i
Arno—ei rodio a raid;
Lle gwelir teg wartheg, wi!
Mewn mwyniant porant heb baid.

O! wiwlu enwog! i'r maes ffrwythlonawl
Maent hwy 'n glau addurniadau hynodawl;
Delaid fwyn addas deulu defnyddiawl,
Tra helaeth yw eu gwasanaeth synawl;
'Lluosog iawn a llesawl—yn ddiau,
Hael yw eu doniau i'r teulu dynawl.

* * * * * *

Onid dedwydd hynod ydynt—mewn hedd
Mwynha pawb o honynt
Eu rhan—O! na bawn ar hynt
Heno fel un o honynt.

Heb ofal yn y galon,
Heb un briw i boeni bron.

* * * * *

I'r golwg yn awr gwelaf—farch nerthol,
A bri 'n wrol ymlwybro 'n araf.

Ei aelodau nerthol ydynt—gwir-nerth
Sydd i'w garnau danynt;
Yn gadarn yr ä arnynt,
Yn ddewr a hardd ar ei hynt.

Prif dŵr yr Amaethwr mwyn
Ys ei ufudd was hyfwyn
Ydyw 'r march, mawr barch trwy 'r byd,
A bïa ef mewn bywyd;
Ond och! ca fy enaid i
Beunydd ei hyll ddirboeni;
Pan ynof y trist gofia
Am y cur a'r dirmyg ga.'

Y dirif greulonderau—a finiant
Ei fewnol ofidiau ;
Y mynych hell fflangellau—arferir,
O! mal y derbynir amlder o boenau!

Ow! dynoliaeth aeth yn wir
I fedd, pan y canfyddir,

Luoedd daiar cas a llidgar,
Er gwir alar oll mor greulon,
Byth at hwnw sy mor hoew
I ddwyn elw i ddynolion.

Af yn awr i gu fan arall—o fewn
Terfynau 'r gwr doethgall:
Man hyfryd llawn bywyd di-ball
I'm mwynaidd awen man ddiwall.

Ei fuarth sy'n llawn o fywyd—yn glau
Minnau af am ennyd
I mewn i hon—mwyn o hyd
Ydyw—mae'n rhaid dywedyd.

*　　*　　*　　*　　*

Y diwrnod ddaeth â'i rodau
I ben nos sy'n buan nesäu.

Af yn hy i'w dy with dân
Gwelir yr Amaeth gwiwlan ;
A'i barod hoff briod ŵyl,
A'u tyner wiwblant anwyl.

Yma hwy gymen gydymgomiant,
Hynod lawen yr ymchwedleuant,
Gwir bleserau 'n ddiau a ddeuant
I'w calonau—yno cu lynant.

Gwir mai sen uchel ga'r masnachwr,
Gan wir degwch genau 'r diwygiwr ;
Ond yr odiaeth Amaethwr—hardd fawrhâd
A ga 'n wastad fel teg onestwr.

Ond ow! alar dy weled—Amaethwr,
Yn neithu cyn amled
A llwyddo—er pob iludded
Dy ddal a wna du ddylêd!

Ha! Gwalia ynot gwelir
Hylliawn waith eichyll yn wir;

Ein Hamaethwr yn methu—dwyn y baich,
Dano byth mae 'n crynu
Teulu 'r rhwysg wnant lwyr wasgu
Bywyd hwn byth ar bob tu.

Yn gaeth y mynant y gwr—tirionawl,
Mewn truenus gyflwr!
Ar hyd ei wedd y rhed dwr
Ei alaeth—ow! anwylwr.

Nid digon ar adegau—yw ei gorph
I fod dan gaeth rwymau;
Yn hyf iawn mewn gefynau
Y rho'nt och! yr enaid tau!

Ei gydwybod dan ddyrnod yn ddarnau,
A ddrylliant os gallant â'u picellau!
Baeddant a gyrant y dynion gorau,
Mewn dig o freintiedig fro ein tadau!
Ar draeth y pell Dalaethau—'n ddifwyniant,
Heddyw y glaniant â phrudd galonau.

* * * * *

Dïau y gorau wladgarwr—ydyw 'r
Hynodawl Amaethwr,
Ond gwell i *deimlad* y gwr
I'w frodeg fod yn fradwr.

Er caru ei wlad rhaid ei gadaw,
Er oer alaeth, ac er hir wylaw,
Ar fron Neifion mae 'r llestr yn nofiaw
O'i hen gu wlad sydd yn ei gludaw
Pan â Chymru fad gwna ymadaw
Dagrau cur tra eglur sy 'n treiglaw.

* * * * *

Mr. A., King's cross, London
Mr. J., Rhyd y fenni, Cilcain.
Mr. J. O., Denbigh. [mair.
r. T., Plas bach, Llanbryn-
r. S., Pontriffith, Denbigh.
r. J., do.
Mr. ., (*Ioan Llanbrynmair*),
h, Llanbrynmair. [Mold.
, Mr. A. J., (*Andreas o Fon*),
Mr. J., Ruthin.
Mr. Jos., do.
Mr. R., Forge, Bodfari.
has Lenyddol Pentrefoelas.
Mr. I., Ruthin, 3 copies.
Mr. J., Henllan.
Miss, Abergregog, Nantglyn.
Mr. H., Park place, Ruthin,
ed. [3 copies.
Mr. H., draper, Denbigh,
Rev. J., Tŷ mawr. [wern.
Mr. J., Wern ddu, Gwyddel-
Mr. J., Pentref, Llandyrnog.
Mr. E., Denbigh.
Mr. T., Rhydonen, Llanynys.
Mr. J., butcher, Denbigh.
Mr. J., Pant idda, Abergele.
Mr. D., Hendre 'r ŵydd,
nhafal. [Corwen.
Mr. D., Hendre morfydd,
Mr. J., Mwrog street, Ruthin.
Mr. R., (*Mynyddog*), Fron,
ynmair, 2 copies.
Mr. W., Clwyd st., Ruthin.
Mr. W., Telpyn, Llanynys.
Mr. E., Love lane, Denbigh.
Miss, Vale st., Denbigh.
Mr. D., Cross foxes, Llanynys.
Mr. W., Penlan, Corwen.
Mr. D., policeman, Llandyrnog.
Mr. D., (*D. G. Perydon*), Bala.
Mr. T., butcher, Denbigh.
Mr. R., Ceryg llwydion bach
Mr. R., Sussex st., Rhyl.
Mr. Ioan, Telpyn, Llanynys.
Mr. R. P., Clwyd st., Ruthin.

Davies, Mr., Melai, Llanfairtalhaiarn.
Davies, Mr. J., Pen y bryn, Llanrhaiadr.
Davies, Mr. W., Brynford st., Holywell
Davies, Rev. D., Colwyn.
Davies, Mr. R., Pen y clip, Llanrhaiadr
Davies, Mr. John, Hendre 'r ŵydd.
Davies, Mr. Ioan, Pentrefoelas.
Edwards, Robert, Esq., Ruthin.
Edwards, Rev. R., Llangollen.
Edwards, Rev. Roger, Mold. [medre.
Edwards, Rev. J. D., M. A., Rhosy-
Edwards, Mr. J., Bryngwynfry, Wisconsin, North America, 10 copies.
Edwards, Mr. J., Fron cottage, Denbigh. [Denbigh.
Edwards, Mr. J., (*Ioan o Ddinbych*),
Edwards, Mr. J., veterinary surgeon, Caerwys..
Ellis, Mr. E., British school, Denbigh.
Ellis, Miss, Cil-llwyn, Bodfari.
Evans, Mr. J., Maes y coed, Caerwys.
Evans, Mr. R., Farm, Llanynys.
Evans, Mr. (*Trefor*), Sarney, Derwen.
Evans, Mr. R., Maes y coed, Caerwys.
Evans, Mr. W., Llanrhydd, Ruthin.
Evans, Mr. J., (*Homer*), Gellifor.
Evans, Mr. J. H., (*Ioan Ceifiog*), Ruthin.
Evans, Mr. D., draper, Newtown.
Evans, Rev. R., (*Trogwy*), Holywell.
Evans, Mr. R., (*Twrch*), Bangor.
Everett, Mr. R., (*Cefn Bithel*), Mold.
Everett, Mr. S. Ll., Dyserth, Rhyl.
Everett, Mr. C. F., do. [nefydd.
Foulkes, Mr. J. R., Llechryd, Llan-
Foulkes, Mr. R., draper, Denbigh, 3 copies.
Foulkes, Mr. J., Llawog, Llanynys.
Foulkes, Mr. J., Graig, Denbigh.
Foulkes, Mr. J., Hendre 'r ŵydd.
Foulkes, Mr. I., Crown st., Liverpool, 12 copies. [Holyhead.
Foulkes, Mr. E., (*'R hen Ddyrnwr*),
Foulkes, Mr. T., Lodge, Llangynhafal.
Foulkes, Mr. W., Plas Stors.
Gee, Mr., T., Denbigh, 6 copies.

Gee, Mr. E. W., Whitchurch, Denbigh.
Griffith, E. W., Esq., Plas newydd, Henllan.
Griffith, Mr D. (*Clwydfardd*), Denbigh
Griffith, Mr. E., Tan y capel, Henllan.
Griffiths, Mr. T., R..thin. [Ruthin.
Griffiths, Mr. W., Black Horse,
Griffiths, Mr. E., Gwernigron, St Asaph
Griffiths, Mrs., G..llifor.
Griffiths, Miss., Vale st., Denbigh.
Griffiths, Mr. W. J., (*Philomath*), Mold.
Griffiths, Mr. Thomas, Rhyl.
Griffith, Mr. J., Carnarvon.
Griffiths, Mr. R., draper, Newtown.
Grantham, Mr. H., Bodafon, Llanrhaiadr. [bigh.
Hastings, Mr. T., Back row inn, Den-
Hannam, Mr. J., Pen y ffordd, Llanynys.
Hesketh, Mr. H., Llewesog, Llanrhaiadr
Hesketh, Mr. W. Nant fawr, do.
Hesketh, Mr. E., Pentref, do.
Hughes, Mr. J., (*Ceiriog*), Manchester.
Hughes, Mr. M., Tŷ gwyn, Llanychan.
Hughes, Mr. H., Plas Chambres, Denbigh. [Bangor.
Hughes, Mr. R., (*Robyn Wyn o Eifion*)
Hughes, Mr. R., Ruthin. [Asaph.
Hughes, Mr. D., Cefn Meiriadog, St.
Hughes, Mr. T., (*T ab Gwilym*) Ruthin.
Hughes, Mr. H., Rhos isa', Llandegla
Hughes, Mr. J., Llandyrnog.
Hughes, Mr., Castle st., Ruthin.
Hughes, Mr. T., Graig, Ruthin.
Hughes, Mr. E., Parc, Clocaenog.
Hughes, Mr. J., at Mr. R. E. Lewis, Ruthin. [2 copies.
Hughes, Mr. J., Bodedeyrn, Anglesea,
Hughes, Mr. J., blacksmith, Henllan.
Hughes, Rev. T., Machynlleth.
Hughes, Mr. J., Dyserth, Rhyl.
Hughes, Mr. D., Telpyn, Llanynys.
Hughes, Mr. E., Ty'n y celyn, Llangynhafal.
Hughes, Mr. J., (*Joseph o Golwyn*).
Hughes, Mr. D., Bryneglwys yn Iâl.
Hughes, Rev. J., (*Carn Ingli*), Meltham parsonage, Huddersfield.
Hughes, Mr. W., Llanbrynmair.
Hughes, Mr. E., Dolydan, do.
Hughes, Mr. E., Brynaerau uchaf, do.
*Humphreys*, Mr., Cotton Hall, Denbigh
*Humphreys*, Mr. J., Dyserth, Rhyl.

Humphreys, Mr. E., Pant glâs, ynys.
Humphreys, Mr H., printer, Carn
Jenkins, J. R., Esq., M. D., Ru
Jesse, John, Esq., F. R. S., Lla Hall.
Jones, J. Parry, Esq., Denbigh, 2 c
Jones, T. C., Esq., M. D., Ruthi
Jones, Mr T., Tŷ 'n y coed, Lla
Jones, Mr. E., bootmaker, R
Jones, Mr. J., Plas yr esgob, Llan
Jones, Mr. J., Ffynonnau, Llanne
Jones, Mr. J. D., British sc Ruthin. [12 co
Jones, Mr. N., (*Cynhafal*), Holy
Jones, Mr. Griffith, Ruthin.
Jones, Mr. D., Rhiw, Llanbedr.
Jones, Mr. J., Tŷ isaf, Green, Den
Jones, Mr. R., Hall square, Den
Jones, Mr. Edward, Gellifor.
Jones, Mr. R., Twysog, Henllan.
J. R., London, 6 copies.
Jones, Mr. T., Bryn melyn, Llan
Jones, Mr. P., butcher, Ruthin.
Jones, Mr. W., Dre' goch, Bodfa
Jones, Mr. R., (*Coris*), Ty'n y c Llanychan. [As
Jones, Mr. W., Pont'r allt goch,
Jones, Mr. T., Cae drain, Denbig
Jones, Mr. W., Bwlch, Abergele.
Jones, Rev. T., Pen y garth.
Jones, Mr. C., Ruthin.
Jones, Mr. T., butcher, Ruthin.
Jones, Miss, Hendref, Bodfari.
Jones, Mr. D., Llangynhafal.
Jones, Mr. D., College, Llandyrn
Jones, Mr. L., printer, Llangolle
Jones, Mr. T., (*Taliesin o Eifion*)
Jones, Mr. J., Bank place, Denb
Jones, Mr. D., Tŷ isa', Llanynys
Jones, Mr. J., Golden Heart, Ru
Jones, Mr. J., Tairan, Llanbedr.
Jones, Mr. H., Ruthin.
Jones, Mr. D., Pentref, Llanrha
Jones, Mr. J., ostler, Llanrhaiad
Jones, Mr. E., printer, Dolgelle
Jones, Mr. J., Lower st., St. As
Jones, Rev. W., Nevyn, Anglese
Jones, Mr. R., (*R. J. Derfel*), chester. [gyn
Jones, Mr. E., Plas yn Rhos,
Jones, Mr. R., slater, Denbigh.

I'w fron deg o fryn a dôl,
Y daw mwyniant dymunol;
I'w feunyddiol sirioli,
A'i fywydawl loewawl li',
O! mor gu rhydd yr huan,
I hwn ei glir wenau glân;
Y llwyn sy'n awr yn llenwi,
O gerddoriaeth odiaeth i
Ei dda hynod ddyddanu;—
Rhydd y côr eu cerddi cu,
Nes toddi 'i feddal galon,
Fel y rhydd wir fawl i'r Iôn.

---

## RHAN II.

O'I fawr-wedd burawl fe rydd y borau,
Yn gu ar Anian ei hawddgar wenau—
Yn eu bri enwog gwelaf y bryniau,
Heb ffael eu gadael wna'r nos gysgodau;
A'r wawr hyd ororau—ddengys weithion,
Pa wiwbur swynion fedd pob rhosynau.

Yn awr eglur welaf yr hyglod,
A thra anwyl Amaethwr hynod,
I'w dda lafur yn bur—mae'n barod,
A hyf yrfa i'w fwyn gyfarfod.

Rhydd ei gu-lwys hardd geiliog—ei hir-lef,
Awrlais Anian serchog;
Ac yn llu y beirdd pluog—a byncian,
Enwog y dodant seiniau godidog.

Yna'n ffraeth yr Amaethwr—a felus
Fola 'i Greawdwr;
A hardd gân a rydd y gwr,
Yn hwylus i'w Gynhaliwr.

Ar aden yr ehedydd—yn geinwych
Esgyna 'i awenydd;
At lŷs mad hoff Dad y dydd,
*Byw* roddwr y boreuddydd.

Ac ar hyn â'r gwr anwyl,
At ei waith mewn hyfryd hwyl;
A phob gwas at addas waith,
Diammheu sy'n myn'd ymaith.

* * * * *

Un o'i gu weision a gaf,
Ar y maes—lanc grymusaf,
A'i hoff aradr—brif offeryn
Yr Amaethwr, dacw'r dyn.
Ger ei fron y gwys lonydd,
I fyny ddaw—hon draw drydd,
Gesyd pob cwys yn gyson,
Yn llyfndeg fel rhyw deg don;
Ei gwys lawn mor uniawn yw!
Llen dda od—lluniaidd ydyw;
Dwg mewn trefn ei gefn i gyd,
A gofal, yn deg hefyd:
O'i ol yn hynodol ŵr,
E geir fy mywiog arwr;
Ha! gwelaf, canfyddaf o,
Fy arwr yn llafurio;
Yn bwyllog, ond heb ballu,
Y cerdd yr Amaethwr cu,
Mewn trefn ar hyd y cefnau,
Ac o hyd yn diwyd hau:
Ei anwyl law bob ennyd,
Dwrn heb ail sy'n darian byd;
Fel peiriant dyfal parod,
Yn awr ä yn bybyr od;
O! mor fâd yr had a rydd
Dan y gwys—da negesydd!
Er ei roi ef yr awr hon,
O'r golwg i ddirgelion,
Tô yr âr, daw trwy weryd,
Yn werdd ei fron a hardd fryd,
O'i bedd y daw pob heidden,
Cyfyd mewn bywyd hardd ben;
Diattal y daw eto,
Yn eirian brid addurn bro!

* * * * *

I un arall o'i feusydd yn wrol
Yr âf, hygaraf olwg ragorol